# HANES
# PLWYF TREFDRAETH

GAN

Y PARCH. O. HUGHES (TYSWYN),

ABERFFRAW.

---

Bangor:

ARGRAPHWYD GAN JARVIS & FOSTER, LORNE HOUSE.

# AT Y DARLLENYDD.

Barnwyd y traethawd hwn yn oreu mewn Eisteddfod a gynaliwyd yn Ysgol Wladwriaethol Trefdraeth, Môn, Mehefin 5ed, 1903, ond têg yw mynegi nad yw y cyfansoddiad yn awr yn hollol fel yr anfonwyd ef i'r gystadleuaeth. Yr wyf o dan rwymau i gydnabod caredigrwydd y personau canlynol am eu cynorthwy i gasglu defnyddiau at y gwaith: Y Parch. Thomas Williams, Ficer, Connah's Quay, mab y diweddar Dr. Williams, Rheithior Trefdraeth; y Parch. H. Davies Owen, Rheithior Penymynydd, mab y diweddar Dr. Owen, Rheithior Trefdraeth; Captain Evans, Henblas; Mr. John Griffith, Bryndinas, Bangor; Alltud Eifion, Tremadog; yn nghyda'm hanwyl dad, William Hughes, Galltysw, Bethel. Buasai yn dda genyf allu ysgrifenu gwell hanes o'r hen blwyf anwyl hwn, oblegid yr wyf wedi fy nghysylltu mewn modd neillduol âg ef. Yma y dechreuais bobpeth pwysig fy mywyd. Tra yma cefais fy nghonffirmio; yma y derbyniwyd fi i gymmundeb yr Eglwys; yma bu'm yn athraw yr Ysgol Sul gyntaf; yma dechreuais gadw cyfarfodydd plant; yma y priodais; yma dechreuais bregethu; yma y cleddais yr aelod cyntaf a fu farw o'm teulu; ac yma y dymunwn innau gael fy nghladdu. Nid rhyfedd fy mod yn hoffi bod yn hanesydd y plwyf. Derbynied y darllenydd ef yn garedig, gan edrych dros ei feiau heb eu cyfrif.

Yr eiddoch yn bur,

YR AWDWR.

# CYNWYSIAD.

## PENNOD IV.



## PENNOD V.



## PENNOD VI.

## PENNOD VII.



## PENNOD VIII.

# HANES PLWYF TREFDRAETH.

## PENNOD I.

### RHAGARWEINIAD.

MAE ysgrifenu hanes ambell i blwyf yn llawer haws nag ysgrifenu hanes plwyf arall; mewn cysylltiad â rhai ardaloedd ceir fod digwyddiadau gwladol mawrion wedi cymeryd lle, a'r rhai hyny wedi eu croniclo yn ofalus; bryd arall, mae rhyfeloedd y wlad wedi argraffu eu hanes ar ddaear llawer plwyf—wedi gadael olion mewn hen wersylloedd, amddiffynfeydd, beddau, a hen neuaddau neu balasau enwog; ac mewn ambell i le mae enwau yr hen enwogion wedi eu cadw yn enwau y tai, y pentrefydd, y maesydd, yr afonydd, a'r bryniau. Ond wrth chwilio am hanes plwyf Trefdraeth gorfodir ni i deimlo mai prinion iawn yw y defnyddiau hyn i'n cynorthwyo i ysgrifenu hanes y Plwyf. Nid ymddengys fod Trefdraeth wedi chwareu rhan bwysig yn hanes y wlad ar unrhyw adeg; ni chawn yma olion y Derwyddon a'u crefydd o gwbl, nag olion Rhufeinig o fath yn y byd, na dim ond un llecyn i'n hadgofio am ryfeloedd yr hen Gymry â'r Gwyddelod; a'r un llecyn drachefn, sef Trefeilir, sydd yn cysylltu y plwyf âg oes ac ymdrechion yr hen Dywysogion Cymreig mewn oesoedd diweddarach. Dichon fod gan ei safiad daearyddol rhywbeth i'w wneyd â hyn. Er fod un gornel i'r plwyf yn cyraedd i lan y môr, eto nid yw y lan hono yn gyfryw ag y gellid cael porthladd, na

glanio un llong yno yn ddiogel, ac oherwydd hyny *nid ydyw wedi dod i gysylliad a digwyddiadau morwrol y wlad mewn unrhyw fodd;* nis gallai gelyn na chyfaill lanio o'r môr yn Trefdraeth, na diangc ymaith i'r môr oddiyno ; mae porthladdoedd a lleoedd cyfleus i lanio wedi enwogi llawer plwyf, ond mae Trefdraeth yn hollol amddifad o hyn. Peth arall yn codi oddiwrth ei safle ddaearyddol yw y ffaith *nad ydyw yn digwydd bod ar lwybr teithiol digwyddiadau yr hen oesoedd* Er engraifft, nid oedd ar lwybr y *Gwyddelod* a fu unwaith yn anrheithio Môn. Gwir iddynt ddyfod i'r plwyf nesaf, sef Cerrigceinwen, ond ni halogasant lwybrau Trefdraeth ; nid oedd chwaith yn digwydd bod ar lwybr y *Rhufeiniaid* pan oeddynt hwy yn llywodraethu, ac yn ymladd yn ein gwlad ; a phrin y gellid tybio fod yr hen *Dywysogion Cymreig* yn defnyddio y plwyf yn llwybr traed ond anaml ; arferai Tywysogion Gwynedd deithio o'r Wyddfa dros Abermenai a thrwy Niwbwrch i Aberffraw, ond nis gallwn weled iddynt gysegru Trefdraeth â'u cedyrn draed, oddigerth cornel fechan iawn.

Dichon, hefyd, fod gan *arwynebedd y plwyf rywbeth* i'w wneyd â'r mater dan sylw. Nid ymddengys fod yma leoedd manteisiol iawn i amddiffyn byddin mewn brwydr, yn ol trefn yr hen Gymry o frwydro ; cydmarol brinion yw y bryniau, a'r nentydd, a'r afonydd, ac oblegid hyn nid ymddengys i unrhyw fyddin gymeryd ei safle yma, na diangc yma am noddfa.

Dyma, yn ddiau, y prif resymau am absenoldeb olion a chysylltiadau hanesyddol yn y plwyf. Er hyn oll mae i Trefdraeth ei hynafiaethau ; nid yw y plwyf yn ieuengach na phlwyfi eraill am na sonir fawr am dono yn nghofnodion

hanesyddol y wlad; dichon nad ydyw hyny yn golled o gwbl iddo, ond yr hyn a ddywedwn yw, ei fod yn golled ac yn anhawsder i ysgrifenydd hanes y plwyf; nid yw hanesiaeth y wlad yn taflu cymaint o oleuni ag a ddymunem ar yr hanes lleol; dyna ein prif gwyn wrth ymgymeryd âg ysgrifenu ei hanes.

Er hyny nid yw Trefdraeth heb ei hanes. Os plwyf gwledig, neillduedig ydyw, eto mae iddo hanes a fydd yn sicr o fod yn ddyddorol ac adeiladol i'w drigolion. Ac wedi hyn o gwyn a rheswm, ceisiwn atteb y cwestiwn dyrys:—

### Pa bryd y daeth Trefdraeth yn Blwyf?

"Yn yr hen amser gynt rhennid siroedd Cymru yn gantrefi a chymydau. Deg tref a deugain oedd i bob cwmwd, a chyfansoddai dau gwmwd un cantref. Nid ydym i gymeryd tref yr hen Gymry fel enw cyfystyr a thref yr oes hon. Mae yn debyg nad oedd tref gynt ond etifeddiaeth. Yn y Beibl mae etifeddiaeth yn myned dan yr enw tref-tadaeth. Cynwysai tref, yn ol yr hen gyfrif, bum gafael, neu 256 erw. Felly gellir casglu nad oedd tref Gymreig yn ddim amgen na threftadaeth neu etifeddiaeth fechan yn perthyn i un teulu." Yr oedd cant o'r trefi hyn yn gwneyd y rhan-barth a adwaenir wrth yr enw cantref. Gynt yr oedd Sir Fôn wedi ei rhanu yn dair cantref, cantref Rhos Fair, sef Niwbwrch, cantref Cemaes, a chantref Aberffraw.

Yn awr, â chantref Aberffraw y mae a fynom ni yn bresenol; yr oedd hon yn cynwys dau gwmwd, sef Llifon a Malltraeth. Mae y rhaniadau hyn yn aros hyd heddyw yn yr ystyr Eglwysig, ac mae enwau yr hen gymydau, erbyn heddyw, yn enwau ar y chwe' deoniaeth wladol sydd yn

Môn, sef Llifon, Talybolion, Twrcelyn, Tyndaethwy, Menai, a Malltraeth. Yn yr hen amser yr oedd Trefdraeth yn nghwmwd Malltraeth ; ac yn yr ystyr Eglwysig adwaenir Trefdraeth heddyw fel plwyf yn Neoniaeth wladol Malltraeth. Ond nid oedd y wlad wedi ei rhanu yn blwyfi bob amser, ac nis gellir nodi unrhyw amser penodol pan y dosranwyd hi felly. Cofier mai nid gwaith y llywodraeth wladol ydoedd ffurfio plwyfi. Rhanbarth *Eglwysig* hollol ydyw plwyf ; wedi ei wneyd yn y canrifoedd boreuaf ; ac nid gwaith a wnaed mewn ychydig amser, ond gwaith a fu yn graddol ddadblygu am rai canrifoedd. Mae gwahanol farnau yn nghylch pa ganrifoedd a welodd ein plwyfi yn cael eu trefnu. Cyn sefydlu y drefn blwyfol nid oedd y trigolion yn rhwym i roddi degwm at gynal Eglwys neillduol fel yn awr, yr oeddynt at eu rhyddid i'w roddi at unrhyw Eglwys a ddymunent, ond yr oeddynt yn rhwym i'w roddi i rhyw un.* Ond wedi trefnu y plwyfi, daeth rhwymau i dalu y degwm at gynal yr Offeiriad yn y plwyf hwnw.

Dywed Camden, i Loegr gael ei rhanu yn blwyfi gan yr Archesgob Honarius, tua'r flwyddyn 630. Ar y llaw arall, dywed Sir Henry Hobart, fod plwyfi wedi eu trefnu gan Gyngor Lateran, yr hwn a gynhaliwyd yn y flwyddyn 1179. Ceisia eraill ddangos fod y gwirionedd yn gorwedd yn rhywle rhwng y ddau amser yna. Dywed yr hanesydd Selden fod y clerigwyr, yn mhell ar ol yr amser a nodir gan Camden, yn byw gyda'u gilydd, heb unrhyw raniadau plwyfol. Beth sydd yn peri y gwahanol farnau hyn ? Y ffaith na sefydlwyd pob plwyf yr un amser. Dyma fel y dywed hanesydd diweddar (Prof. J. E. Lloyd, " History of Wales,"

* Church Dictionary, p 427.

p. 380):—"Fel hyn y gwelodd y bumed a'r chweched ganrif Gymru wedi ei chyflawn orchuddio â rhwydwaith o drefniadau Eglwysig, sef Llanau, neu Eglwysi plwyfol, Bangorau neu encilfanau crefyddol, ac ysgolion, &c., ac yn cynwys chwech neu saith o Esgobaethau." Yn ei sylwadau ar y 5ed, 6ed, a'r 7fed ganrif yn Hanes Esgobaeth Tyddewi, dywed Canon Bevan fel y canlyn:—"Sefydlwyd rhifedi mawr o'n Heglwysi plwyfol yn y cyfnod hwn. . . . . Dyma wir gyfnod y seintiau, enwau lluaws o'r rhai a gedwir mewn goffadwriaeth gan Eglwysydd ag y dywedir iddynt eu cyfodi."

Credwn nad ydym yn mhell o'n lle pan y dywedwn fod mwyafrif mawr plwyfi Cymru wedi eu ffurfio rhwyng y 5ed a'r 8fed ganrif; ac y mae genym brawfion digonol mai yn y cyfnod yna y gwnaed Trefdraeth yn blwyf.

Fel y cynyddai teuluoedd Cristionogol y wlad, ymledai darpariadau crefyddol ar eu cyfer. Yr oedd canolfanau crefyddol wedi eu sefydlu yn y wlad cyn hyn, megis Bangor, er engraifft; oddiyno anfonid cenhadon, a sefydlid mân ganghenau yma ac acw; nis gellir heddyw, ar ol cynifer o ganrifoedd, roddi manylion hanes am sefydliad y Llanau hyn; tyfiant bywyd crefyddol ydynt. Yn gyntaf nid oeddynt ond *llecyn* penodol dan gysgod neuadd rhyw deulu crefyddol i dderbyn y cenhadon. Yna cyfodid Eglwys, sef adeilad i godi allor i Dduw.† Byddai y rhan fwyaf o'r Eglwysi yn cael eu hadeiladu gan arglwyddi maenoriaeth er mwyn eu tenantiaid. Dyna sydd yn cyfrif am wahanol faintioli a ffurfiau anhwylus llawer o blwyfi. Byddai yr Eglwys a gyfodid fel hyn, ar gyfer y faenoriaeth, a deuai y faenoriaeth

† Iolo MSS. p. 148.

yn blwyf, gyda darpariaeth ar gyfer yr Offeiriad. A dyma'r modd y ffurfiwyd plwyf Trefdraeth. Hyn roddes iddo ei faintioli, ei ffurf, a'i derfynau presenol. Yr oedd yr holl ranbarth hwn a elwir wrth yr enw plwyf Trefdraeth yn un etifeddiaeth pan adeiladwyd yr Eglwys gyntaf yma.

Nis gallasai yr amgylchiad hwnw fod yn ddiweddarach na dechreu y 7fed ganrif. Neu, a bod yn fwy manwl, dywedir i Eglwys y plwyf gael ei hadeiladu yn y flwyddyn 616 O.C., gan

## Beuno Sant.

Y cwestiwn nesaf sydd genym i'w olrhain yw, pwy a beth oedd yr hen sant hwn a oleuodd y llusern ysprydol yn y plwyf. Goleuodd dân yr efengyl yma, ac er gwaethaf holl wyntoedd ystormus cynyrfiadau yr oesau, mae wedi dal heb ddiffodd drwy y cwbl, ac mae trigolion presenol Trefdraeth yn cyfranogi o wres tân a gyneuwyd agos i dri-chant-ar-ddeg o flynyddau yn ol! Ond pwy oedd y cymwynaswr crefyddol mawr hwn? Pwy oedd sefydlwr yr Eglwys yn Trefdraeth?

Dyma fel y gesyd y Parch. W. J. Rees, M.A., F.S.A., Rheithor Cascombe, ei achau:—"Beuno ap Bugi ap Gwinlliw ap Tegit ap Cadell Deyrnllwg ap Gortegyrun ap Gerthevyn ap Gorthgeyrun ap Rutegyrn ap Ceheuwynt ap Endegan ap Endegern ap Elud ap Endor ap Endolen ap Avallad ap Amalech ap Belim ap Anna, yr hon ydoedd gefnither i Fair Forwyn, mam Crist." ‡

Beth bynag am gywirdeb a defnyddioldeb cofrestr achyddol fel yr uchod, dengys yn amlwg fod y rhai a fu yn ei chwilio allan yn ystyried Beuno yn berson enwog iawn, a chan fod ei achau wedi eu holrain yn ol i deulu ein Gwaredwr, mae yn amlwg fod duwioldeb yn un elfen bwysig yn ei gymeriad.

‡ Rees, "Lives of the Cambro-British Saints."

Mae hanesion rhyfedd ac anhygoel am St. Beuno, o'i gryd hyd ei fedd, ac yn wir cyn i'w gryd gael ei hoelio yn nghyd. Dywedir fod angel wedi rhagfynegi ei enedigaeth a mawredd ei fywyd, i'w dad a'i fam cyn ei genhedlu.

Bydd cael ychydig o hanes yr hen sant enwog hwn yn sicr o fod yn ddyddorol i drigolion Trefdraeth, ac nis gallaf wneyd yn well na dodi ei hanes yn ngeiriau Eben Fardd. Dyma fel yr edrydd ei hanes :—

"St. Beuno oedd sefydlydd y cyfundeb crefyddol cyntaf yng NGHLYNOG FAWR; ac efe a adeiladodd Goleg, neu Fonachlog, yma tua'r flwyddyn 616, medd yr hanesion. Mab oedd St. Beuno i *Hywgi ab Gwynlliw ab Glywis ab Tegid ab Cadell, Arglwydd Glewisig.* Yr oedd yn nai, o fab brawd, i St. Cadog ab Gwynlliw, neu fel y gelwir ef yn gyffredin, 'CATTWG DDOETH.' Yr oedd hefyd yn gefnder, o du ei fam, i Leudad; yn ol rhai, cyntaf; yn ol eraill *ail* Abad Enlli, ac yn gefnder i Gyndeyrn, sylfaenydd Esgobaeth Llanelwy. Ei fam oedd PERFFEREN, merch Llewddyn Lwyddog, o ddinas Eiddin (Edinburgh)."

Dywedir fod ei rieni mewn gŵth o oedran pan anwyd ef. Mae "Chwedl *(legend)* St. Beuno," yn rhedeg fel y canlyn:—

"Ond y gŵr penaf yn y ffydd oedd Cadfan, brenin Gwynedd, yr hwn a roes i Beuno lawer o dir. Ac wedi marw Cadfan, aeth Beuno i ymweled â Chadwallon ei fab, yr hwn a'i dilynodd yn mhrenhiniaeth Gwynedd. A deisyfodd Beuno gael y tir a addawsai Cadfan, oherwydd nad oedd ganddo yno le i addoli Duw, nag i breswylio ynddo; yna y brenin a roddes i Beuno le yn Arfon, a elwid *Gwaredog;* a Beuno a roddes i'r brenin deyrnwialen aur, yr hon a roddasai Cynan ab Brochwel iddo ef wrth farw; a'r deyrnwialen hon

oedd yn werth triugain muwch. Ac yno Beuno a adeiladodd Eglwys, ac a ddechreuodd wneyd mur o'i hamgylch. Ac ar ddydd gwaith, pan oedd efe yn gwneyd y mur hwn, a'i ddisgyblion gydag ef, wele, hwy a ganfuant wraig, a baban yn ei breichiau, yn erfyn ar Beuno fendithio y plentyn. 'Aros ychydig, wraig,' ebe Beuno, 'nes gorphen o honom y gwaith hwn.' A'r plentyn a wylodd, ac ni chymerai ei dawelu; yna y gofynodd Beuno i'r wraig, paham yr oedd y plentyn yn wylo? 'Sant da,' attebai y wraig, 'rheswm da paham.' 'Beth yw y rheswm hwnw?' ebe Beuno. 'Beth, ond mai diameu fod y tir wyt ti yn ei feddiannu, ac yn adeiladu arno, yn dreftadaeth y plentyn hwn.' Yna Beuno a erchodd i'w ddisgyblion dynu eu llaw o'r gwaith, tra y byddai efe yn bedyddio y plentyn, a pharotoi ohonynt ei gerbyd iddo. 'A nyni a awn gyda'r wraig hon a'i phlentyn i ymweled â'r brenin, yr hwn a roddes y tir hwn i mi.' Yna Beuno a'i ddisgyblion a gychwynasant gyda'r wraig hon a'i phlentyn, ac a ddaethant i *Gaer Saint* (Caernarfon), lle yr oedd y brenin. Yna y llefarodd Beuno wrth y brenin:—'Paham y rhoddaist i mi dir gŵr arall?' 'A phwy,' meddai y brenin, 'sydd ganddo hawl iddo?' Ebe Beuno wrtho yntau,—'y plentyn sydd ym mreichiau y wraig accw yw etifedd y tir;' ac, ebai Beuno drachefn, 'dyro i'r plentyn ei dir, a dyro i mi dir arall yn ei le, neu dyro i mi yn ol, yr anrheg a roddais i ti,—sef y deyrnwialen.' Ond y brenin balch a gorthrymus a attebodd, 'ni newidiaf y tir; ac am yr anrheg a roddaist i mi, myfi a'i rhoddais i arall.' A Beuno a ddigiodd yn fawr, ac a ddywedodd wrth y brenin,—'mi a weddïaf ar Dduw na byddo gennyt di, ym mhen ychydig, ddim tir yn y byd;' ac aeth Beuno ymaith ac a'i gadawodd

yn felltigedig. Yn awr yr oedd un GWYDDEINT, cefnder i'r brenin, yr hwn a ganlynodd ar ol Beuno, ac a'i goddiweddodd ef ar yr ochr arall i *Afon Saint*, lle yr oedd Beuno yn eistedd ar garreg wrth lan yr afon ; ac efe a roddes i Dduw, a Beuno, dros ei enaid ei hun, ac enaid Cadwallon, ei gefnder, dreflan CELYNOG am byth, heb na mâl nac ardreth ; ac a wnaeth hawl da o honi. Ac yno Beuno a wnaeth lawer o wyrthiau, trwy gymorth Duw, y rhai ni allai dyn eu rhifo." *

Dyna yr hen hanes yn dangos pa fodd y daeth Beuno i ymsefydlu yn Nghlynog. Yn y dreflan hon adeiladodd Eglwys a Monachdy. Yr oedd y sefydliad hwn yn fath o athrofa i gymwyso gwŷr ieuaingc ar gyfer gweinidogaeth yr Eglwys. Y mae hen Eglwys Clynog yn enwog iawn hyd y dydd hwn, o ran ei maintioli, ei drysau, a'i ffenestri mawrion, gwychder yr adeiladwaith, a'i dodrefn henafol.

Yr oedd St. Beuno yn ŵr diwyd a gweithgar, a daeth ef a'i sefydliad yn allu a dylanwad mawr drwy y wlad oddiamgylch ; anfonai allan ei genhadon i bregethu ac i ddysgu, a sefydlodd amryw Eglwysi yn mhell ac agos. Dyma restr o Eglwysi plwyfol sydd yn dwyn ei enw, ac yn ol pob tebyg wedi eu sefydlu ganddo ef a'i genhadon.

Yn Swydd Fflint—Gwenfrewi, Treffynon.
„ „ Henffordd—Llanfeuno.
„ „ Drefaldwyn—Aber-rhiw, neu Berriew, a'r Bettws
„ „ Meirionydd—Llanycil a Gwyddelwern.
„ „ Gaernarfon—Celynog Fawr, Penymorfa, Pistyll, Carngiwch, Pwllheli, Bottwnog.
„ „ Fôn—Aberffraw a Trefdraeth.

* Gwêl Cyff Beuno, Eben Fardd, p. 51.

### Pa fodd y daeth St. Beuno i Drefdraeth?

Dyma gwestiwn digon anhawdd ei atteb, ac hwyrach yr erys ei attebiad gwirioneddol am byth dan leni tywyllwch y gorphenol. Er hyny mae yna fwy nag un attebiad yn cynyg eu hunain i'n sylw fel rhai tebygol i fod yn wirionedd.

*Yn gyntaf*:—Yr oedd Trefdraeth ar lwybr St. Beuno pan fyddai yn dod o Glynog dros Abermenai ac am Aberffraw, a pheth posibl a thebygol iawn iddo ddyfod i gymdeithas a chyfeillgarwch a rhyw uchelwr yno, ac iddo gael noddfa a lle i godi allor i'w Dduw o dan gronglwyd ei neuadd.

*Yn ail*:—Oddiwrth hen feddfaen sydd yn mur Eglwys Llangadwaladr, gwelwn fod *Cadvan*, Tywysog Gwynedd, wedi ei gladdu yn Llangadwaladr,† plwyf nesaf i Drefdraeth. Rhoddes Cadfan lawer o dir i Beuno, at adeiladu Eglwysi arno, a chan fod cysylltiad mor agos rhwng Cadfan a'r ardal, peth digon posibl, os nad tebygol, yw iddo roddi'r tir yn Trefdraeth i godi Eglwys er budd trigolion y faenoriaeth hono.

Ac nid yw yn beth anmhosibl mai cyfuniad o'r ddau syniad uchod yw y gwirionedd, sef mai wrth deithio o Glynog Fawr i Aberffraw, i St. Beuno ddod yn gydnabyddus â Chadfan, neu rai o'i deulu, ac enill eu ffafr, a chael ganddynt le i adeiladu Eglwys.

† Dyma'r ysgrif sydd ar y feddfaen :—"*Catamanus, rex sapientisimus openatisimus omnium regum*," yr hyn o'i gyfieithu yw—"Cadfan, y brenin doethaf a'r cyfoethocaf o'r holl frenhinoedd." Wyr i Cadfan oedd Cadwaladr Fendigaid, a adeiladodd yr Eglwys yno.

## PENNOD II.

### Eglwys Gyntaf Trefdraeth.

PAN adeiladwyd yr Eglwys gyntaf yma, nid oedd y gelfyddyd o adeiladu, y pryd hyny, ond yn ei babandod; nid oedd adeiladau o feini a chalch yn adnabyddus yn y rhan hon o'r byd. Mae y gair a ddefnyddiwn yn awr,—adeiladu—wedi disgyn o'r cyfnod boreu hwn, pan nad oedd cerrig yn cael eu defnyddio; mae y gair yn dod o "ad," ac "eilio," sef plethu yn nghyd. Defnyddir y gair "eilio" yn awr am blethu cân, eilio cân, hyny yw, ei rhoddi wrth ei gilydd; hefyd, eilio rhaff, sef plethu dwy neu ychwaneg o raffau yn nghyd. Yn yr amser yr adeiladwyd yr Eglwys yn y plwyf hwn, gwneid tai trwy blethu neu eilio gwiail yn nghyd, a llanw y rhwyd-dyllau â chlai, a gelwid y cyfanwaith yn "ad-eiliad." Ac am Eglwys gyntaf Trefdraeth, nid oes amheuaeth nad Eglwys o blethwaith gwiail ydoedd, cyffelyb i'r rhai a welir heddyw yn nghanol-barth a Dwyreinbarth Affrica. Nid oes dim byd a welsom nag a glywsom yn profi, nac yn awgrymu fod yr Eglwys wedi bod mewn unrhyw ran arall o'r plwyf. Ac wrth edrych i holl gornelau y plwyf nis gallwn ond gweled ei bod wedi ei gosod ar fan gweddol gyfleus i'r holl boblogaeth. Ac mae rhywbeth yn hapus a dyddorol yn y syniad fod yr Eglwyswyr presenol yn addoli ar yr un llecyn cysegredig ag yr addolodd eu tadau arno am agos i dri-chant-ar-ddeg o flynyddau.

### Terfynau y Plwyf.

Nid oes genym sail i gredu fod terfynau y plwyf hwn wedi eu symud er pan ffurfiwyd ef yn blwyf gyntaf. Fel y

dywedasom o dan benawd arall, penderfynid terfynau cylch pob Eglwys, gan amlaf, gan derfynau etifeddiaeth adeiladydd yr Eglwys, neu derfynau y faenoriaeth y perthynai iddi. Weithiau, adeiledid Eglwys gan y taogiaid, sef y dosbarth isaf, y rhai oeddynt yn gaethion i'r meistriaid tir; ac yr oedd cyfreithiau Hywel Dda yn eu cefnogi i wneyd hyn, drwy eu rhyddhau o'u caethiwed am wneyd. Dyma fel y dywed un o'r deddfau hyny:—"Os gwneir Eglwys, gyda chaniatad y Brenin, mewn tref a gyfaneddir gan daogiaid, gyda chynaliaeth i offeiriad a mynwent gyda hi, bydd trigolion y dref hono yn wŷr rhyddion rhag llaw." * Yr oedd hyn yn symbyliad cryf i adeiladu Eglwysi. Yn yr amgylchiadau hyn terfynau cylch yr Eglwys hono, neu ei phlwyf, fyddai terfynau tref y taogiaid fyddai wedi ymuno i'w hadeiladu a'i gwaddoli.

Hefyd, ymddengys fod cyfreithiau Hywel Dda yn cefnogi y tir-feistriaid i adeiladu Eglwysi. Os byddai Eglwys ar yr etifeddiaeth, ystyrid y tir yn fwy o werth; mewn gwirionedd, dyblid ei werth, fel y dengys y difyniad canlynol:—"Pan gymero taeog dir gan y brenin, telir i'r brenin *drugain* ceiniog am bob rhandir gan y cymerwr; ac os bydd Eglwys ar dir y pentef, daw *chwe-ugain* ceiniog i'r brenin oddiwrth yr hwn a'i cymero." † Heblaw gofal yr hen feistri am lês eu gweision a hwynt eu hunain, yr oeddynt yn cael symbyliad nerthol i'w rhinwedd yn mwyhâd gwerth y tir trwy yr hen ddeddf uchod. Mae yn sicr i rhywun godi Eglwys, a rhoddi rhan o'i etifeddiaeth at ei chynal, a bod terfynau yr etifeddiaeth hono yn ffurfio terfynau y plwyf hwn heddyw.

* Llyfr II,. pen. xxii. § 7. † Llyfr II., pen. xl. § 15.

Pa un a roddwyd hi gan Cadfan Frenin, neu rhywun arall, nid yw o bwys i ni yn y mater sydd dan ein sylw yma.

MAINTIOLI Y PLWYF.

Mae ei hyd dros 4 milldir y ffordd hwyaf, a'i led tua 2½. Ond i fod yn fanwl, mae ei arwynebedd yn 3,135 o erwau. A'i gymeryd at ei gilydd, mae yn dir llafur rhagorol, a rhanau o hono yn deilwng o'u rhestru gyda'r tiroedd goraf yn yr Ynys.

POBLOGAETH.

Gwneir y boblogaeth bresenol i fyny bron yn gyfan gwbl o amaethwyr, llafurwyr amaethyddol, a'r masnachwyr a'r crefftwyr angenrheidiol ar gyfer y dosbarth hwn. Wrth edrych yn ol canfyddwn mai

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Nifer y bobl | yn | 1811 | oedd | 497 |
| " | " | " | 1821 | " | 601 |
| " | " | " | 1831 | " | 835 |

Gwelir fod cynydd cyflym wedi cymeryd lle yn ystod yr ugain mlynedd uchod; gellir priodoli hyny i'r pentref a gyfodwyd yn Malltraeth mewn canlyniad i gau y morglawdd, ac, hefyd, i'r gweithydd glo yn y morfa oeddynt wedi codi yr adeg hon. Dachefn, yn

| | | | |
|---|---|---|---|
| Y flwyddyn | 1881 | y boblogaeth oedd | 894 |
| " | 1891 | " | 804 |
| " | 1901 | " | 692 |

Lleihâd o ddau gant mewn ugain mlynedd.

Oddiwrth yr ystadegau uchod gwelir fod Trefdraeth, fel y mwyafrif o blwyfi gwledig, yn y blynyddoedd diweddaf, wedi teimlo oddiwrth y mudiad cyffredinol sydd i'r trefydd.

## Y FYNWENT.

Dylid crybwyll yma nad oedd yn beth arferol pan ddechreuwyd adeiladu Eglwysi Cristionogol, i gladdu y meirw mewn llain o dir cysylltiedig â'r Eglwys. Yn hytrach, neillduid rhan o dir yn gladdfa i'r meirw mewn rhanbarth ar wahan i'r Eglwys. Tua'r 6ed ganrif, pa fodd bynag, canfyddwn fod personau o enwogrwydd yn cael eu claddu o amgylch yr Eglwysi. Yn Nghyngor Mentz, O.C. 813, rhoddwyd caniatâd i gladdu personau *yn* yr Eglwysi. Dechreuwyd claddu o amgylch yr Eglwysi ar ol amser Gregori Fawr, pan wnaed cais gan y Mynachod i gladdu o amgylch yr Eglwysi. Ond drwy awdurdod y 9fed Ganon, a elwir *De non sepeliendo in ecclesies*, rhoddwyd terfyn ar gladdu tu fewn i'r Eglwysydd, oddigerth claddu Offeiriad neu rhyw berson sanctaidd arall.

Nis gwyddom pa bryd y cauwyd mynwent Trefdraeth yn gladdfa, mae yn debyg iawn ei bod yma er yr oesoedd boreuaf, neu o'r hyn lleiaf, y canoloesoedd, ac fod cenhedlaeth ar ol cenhedlaeth o'r plwyfolion wedi eu daearu ynddi. Saif ar lechwedd noeth yn gwynebu codiad yr haul, ac yn agored i 'stormydd y Deheu; ond mae hi wedi ei chysgodi yn dda erbyn hyn gan gangau ei choed ei hunan, ac yn edrych yn dawel a neillduedig, allan o sŵn a dadwrdd byd a'i bethau, yn llanerch o "hedd, perffaith hedd."

O ran maintioli, mesura un erw a 35 perch. Ar hyn o bryd nid oes golwg y bydd iddi ddyfod yn rhy lawn, gan fod ynddi ddigonedd o leoedd heb eu cyffwrdd. Mae ynddi amryw hen feddau henafol ac hanesyddol pe buasai gofod ac amser yn caniatau i ni roddi manylion am danynt; dyddia rhai er canol yr ail-ganrif-ar-bymtheg.

## Yr Eglwys Bresenol.

Nid oes eisieu hanesydd i ddweyd fod adeiladwaith yr Eglwys bresenol yn hen ; mae trwch y muriau, a'r olwg henafol sydd arnynt yn dweyd hyny yn groyw. Nid oes sicrwydd ar gael pa amser, na chan bwy yr adeiladwyd hi, ond cytunir yn gyffredin i gydnabod ei bod tua thrichant oed.

O ran ei ffurf, adeilad hirgul ydyw, gyda phorth eang ar yr ystlys ddeheuol, a festri fechan gyferbyn a'r drws ar yr ochr ogleddol. Mae iddi gapel hefyd ar yr ochr ddeheuol yn y pen dwyreiniol. Yn y pen gorllewinol mae iddi glochdy syml bychan, ac ynddo un gloch.

Ar drawst sydd yn y porth, ac yn gwynebu tuag allan, mae yr arysgrif ganlynol :—WARD. 1793. I.H. W.G. Prin y gallwn gredu fod y dyddiad hwn yn golygu iddi gael ei hadeiladu o newydd y flwyddyn uchod. Mae yn fwy tebygol iddi gael ei *thoi* o'r newydd y pryd hyny ar yr hen furiau, neu *adgyweirio* coed ei phen, oblegid mae y coed yn edrych yn llawer hynach na'r flwyddyn uchod. Talfyriad o'r gair *Wardens* yn ddiameu yw y *Ward.* uchod, a saif I.H. ac W.G. am enwau y ddau warcheidwad am y flwyddyn uchod. Mae ôl adgyweirio ar goed y pen, ac nid oes fawr o amheuaeth genyf na wnaed hyn pan ail-döwyd hi i gyd yn amser Dr. R. Williams tua'r flwyddyn 1830, neu hwyrach ychydig yn ddiweddarach. Pa fodd bynag, ymddengys iddi gael ei hail-doi gan y rheithor uchod.

Ar gauad y Fedyddfan mae yr arysgrif ganlynol :—WARD. 1714. R.R. E.H. Golyga y rhai hyn lythyrenau cyntaf enwau y Gwarcheidwaid Eglwysig yn y flwyddyn y gwnaed y cauad dan sylw ; yr oedd hyn pan oedd y Parch. Hugh Wynn, M.A., yn rheithor yma ac yn Aberffraw.

Gallasem dybied fod canllaw yr allor o wneuthuriad henafol iawn, yn llawer iawn hynach na'r seddau sydd o'r tu mewn i'r canllaw. Mae y ddarllenfa a'r pwlpud a'r holl seddau wedi ei gwneyd a'u gosod yn ystod rhan gyntaf rheithoriaeth Dr. Owen, ac adgyweiriwyd ychydig ar ranau eraill yr un pryd.

ARYSGRIFAU.

Nid oes ond un maen tu fewn i'r Eglwys yn dwyn arysgrif goffadwriaethol. Llechfaen fawr ydyw wedi ei gosod yn ddwfn yn y mur gogleddol yn agos i'r pwlpud. Mae wedi ei hysgrifenu mewn hen Saesoneg, ond diweddarach na'r dyddiad sydd arni. Wele gyfieithiad o honi :—

> "Yma y gorwedd corph Hugh ap Richard Lewis, Marian, boneddwr. Bu farw y 27 dydd o Ebrill, 1660 oed 74. A Jane ei wraig fu farw yr 21 dydd o Awst, 1661, oed 77. Yma y gorwedd corph Owen Williams, Marian, boneddwr, yr hwn a fu farw y 30 dydd o Fai, 1723, oed 44."

Mae hen deuluoedd y Marian o genhadlaeth i genhedlaeth wedi bod yn ffyddlon iawn i'r Eglwys yn Trefdraeth. Yn mhlith y Gwarcheidwaid gwelwn enwau y teulu yn aml. Ar un o blatiau y cymmun mae y geiriau hyn yn gerfiedig :—

> "Rhodd James Lewis, Marian, Gwarcheidwad i Eglwys y Plwyf, Trefdraeth. 1751."

Mae y Patin yma yn arian pur, ac yn pwyso 20 owns o bwysau.

Drachefn, gwelwn enw Owen Jones, Marian, yn mhlith elusenwyr y plwyf yn 1788. Dylasai yr elusen fod yn werth 30/- i'r plwyf bob blwyddyn, ond y mae wedi ei cholli.

## COF-LYFRAU YR EGLWYS.

Mae Cof-lyfrau Trefdraeth yn ddyddorol oblegid eu hynafiaeth. Dyma y *Registers* hynaf yn Ynys Môn, ac yn wir dywedir nad oes ond un plwyf (sef Gwaenysgor) trwy holl Ogledd Cymru yn meddu rhai mor hen. Mae yr hynaf o honynt yn dechreu gyda'r flwyddyn 1550, ac wedi ei ysgrifenu ar femrwn cryf. Mae wedi ei ysgrifenu yn Lladin, fel yr oedd arferol gwneyd y pryd hyny, ac am fwy na chanrif ar ol hyny.

Llyfr cul tua chwe' modfedd o led, a thua 14 neu 15 modfedd o hyd, ydyw, ac wedi ei rwymo mewn papur llwyd tew, meddal. Wrth graphu ar y llawysgrif am fwy na'r haner can' mlynedd cyntaf, canfyddwn nad oes yno gyfnewidiad; mae yr un llawysgrif yn rhedeg yn mlaen dros reithioriaeth tri neu bedwar o reithioriaid, yr hyn a bâr i ni ddyfod i'r penderfyniad mai *copy* ydyw hwn a wnaed yn nechreu yr ail ganrif ar bymtheg o gof-lyfr oedd mewn bod yn gynt, a thueddir ni i awgrymu mai y Parch. Henry Parry, B.D., 1606, a wnaeth y gwaith hwn, rhag i'r hen gofnodion fyned ar gyfrgoll; yr oedd efe yn ysgolhaig gwych, yn cymeryd dyddordeb neillduol yn y Gymraeg, yn cynorthwyo llawer ar ysgolheigion tylodion Cymru, ac yn caru Eglwys y Cymry a chariad mawr,* yn nghyda phobpeth a berthynai iddi.

Ar du mewn i hen glawr papur llwyd yr hen gof-lyfr uchod mae yr englyn canlynol wedi ei ysgrifenu gan rhyw edrychydd ieuengach na'r llyfr :—

"O'r ddayar yn gynar i'n ganed,—yn noeth
I wneythyr fy nhynged
Ac i'r ddayar glayar gled
I'r un man y rym ni myned.
Mehefin 20 dydd 1749."

*Angharad Llwyd, p. 19, 20.

Ysgrifenwyd hwn yn ail flwyddyn yr enwog Ganghellydd Lewis, ond nis gwn a oedd efe yn fardd ; prin y credaf mai ei lawysgrif ef yw hon.

Mewn un gornel, o dan y flwyddyn 1815, mae yr isod wedi ei ysgrifenu yn Gymraeg :—

> "Rhodd Plwyfolion Trefdraeth yn Môn er llesad a chynorthwy i deuluoedd y gwyr a laddwyd a'r trueiniaid a archollwyd dan lywodraeth y Penllywydd Duc Wellington a Tywysog Ardalydd Môn neu Marcwis Môn yn muddugoliaeth Waterloo ar y 13 dydd o Fehefin 1815: swm £6 : 4 : 9."

Gwnaed hyn pan oedd y Parch. John Kyffin yn rheithor, ond yr oedd y gwaith Eglwysig bron yn gwbl dan ofal y Parch H. Williams, Curad. Dengys hyn fod dyngarwch ac hunanaberth yn elfenau cryfion yn nghymeriad Eglwyswyr Trefdraeth yr adeg hono.

Mae haneswyr Ymneillduol yn ceisio dangos fod Ymneillduaeth wedi ysgubo pobpeth o'i blaen yn Môn ar ol 1822, a bron na ddywedent fod pawb wedi gadael yr Eglwysi ac ymuno â hwynt, ond y mae ystadegau sydd ar un o goflyfrau y plwyf hwn yn dangos pethau mewn lliw gwahanol.

Wele rai ohonynt er engraifft :—

Yn y flwyddyn 1811 conffirmiwyd 24 o ieuengtyd Trefdraeth gan yr Esgob Majendie.

Rhwng y blynyddoedd 1830 a 1847, conffirmiodd yr Esgob Bethel 124 perthynol i Drefdraeth.

Mae sefyllfa pethau yn nglyn a'r cymmun yn llawn mor gadarn i'r un cyfeiriad :—

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Ar y Pasg yn y | flwyddyn | 1828 | cymmunodd | 49 |
| " | " | 1829 | " | 49 |
| " | " | 1830 | " | 46 |
| " | " | 1831 | " | 46 |
| " | " | 1832 | " | 49 |

Mae hyn yn nifer dda o gymmunwyr gyda'u gilydd mewn plwyf gwasgaredig a theneu ei boblogaeth fel Trefdraeth, ac yn enwedig pan oedd Ymneillduaeth yn ngogoniant a gwres eu cariad cyntaf.

### Y Rheithiordy.

Saif y Rheithiordy lawn filldir a haner o'r Eglwys. Mae wedi ei adeiladu yn nghesail craig yn gwynebu i godiad haul, ac afon Gwna yn llithro yn dawel a murmurol heibio, gan ireiddio coedydd a blodau ei ardd a'i lleithder gwrteithiol, tra'n rhedeg am ei "Choron." Mae yn dŷ eang a chyfleus, a'r coedydd cauadfrig yn ei amddiffyn rhag y tymhestloedd. Mae iddo erddi eang, breision.

Cyn y flwyddyn 1819 nid oedd ond tŷ gwyngalchog tra chyffredin, ac yn sefyll yn nes i'r afon na'r presenol. Dyna sydd yn cyfrif am yr enw sydd arno hyd heddyw ar dafod y werin, "Siamber Wen." Er y ceisia rhai wneyd allan mai gwreiddyn y gair "Siamber Wen" yw Siamber ar Wna, am ei fod ar fin yr afon hono, ond mae yr eglurhad yn rhy annaturiol i fod yn wirionedd. Mae'n debyg mai nid Rheithiordy oedd o'r dechreuad, ac er iddo gael ei droi yn Rheithiordy, eto cadwyd yr hen enw ar lafar gwlad.

Yn y flwyddyn 1819, pan oedd y Parch. John Kyffin yn Rheithior y plwyf, ymgymerodd ag adeiladu tŷ newydd.

Dyma fel rhed cyfieithiad o'r cofnodiad o un o'r coflyfrau:—

"Gosodwyd carreg sylfaen Rheithordy newydd yn mhlwyf Trefdraeth, Sir Fôn, dros gostrel *(bottle)*, o fewn yr hon yr oedd memrwn ysgrifenedig, yn 59 flwyddyn o deyrnasiad y Brenin George iii.

WILLIAM HENRY MAJENDIE, D.D., Esgob Bangor.
JOHN KYFFIN, Rheithor.
HENRY WILLIAMS, Curad.
ROBERT JONES, Archadeiladydd, Caernarfon.
O. PUTLAND MEYRICK, Bodorgan, } Ysweiniaid
H. EVANS, Henblas, } Cymydogaethol.
*Medi 1af*, 1819.

---

Ni bu John Kyffin fyw ond am rhyw bedair blynedd ar ol hyn; ac yn 1824 penodwyd y Parch. Harry Williams yma. Ni chafodd ef ond ychydig o fwyniant iechyd, a bu farw yn mhen dwy flynedd; fel yr oedd allanolion y tŷ byth heb eu gorphen. Nid oedd y gerddi wedi eu ffurfio na'r coed wedi eu planu. Pan ddaeth y Parch. R. Williams yma yn 1826, ymgymerodd a gosod y pethau hyn oll mewn trefn. Efe a blanodd yr holl goed mawrion sydd yn amgylchu y tŷ; ac ychwanegodd ddarn at y tŷ yn y cwr gorllewinol iddo.

Drachefn, daeth y Parch. H. Davies Owen yma yn 1849, ac ychwanegodd yntau ddarnau helaeth at y tŷ, eto yn yr un ochr, a gwnaeth luaws o gyfnewidiadau drwyddo nas gallwn roddi manylion o honynt yma. Yr oedd yr holl gost i Dr. Owen yn llawn £600, a thalodd y cwbl o'i logell ei hun, heb daflu dimai o gost ar y fywoliaeth.

Ychydig a dibwys yw y cyfnewidiadau sydd wedi eu gwneyd ar y Rheithiordy o hyny hyd yn awr.

## CAPEL CENHADOL MALLTRAETH.

Yn fuan ar ol adeiladu yr ysgoldy yn Malltraeth yn 1870, sefydlodd Dr. Owen, y Rheithior, wasanaethau rheolaidd yn Malltraeth. Penododd Ddarllenydd Lleygol i fod yno, yr hwn a ddeuai yno am y Sul yn unig, a buan iawn y gwelwyd arwyddion digamsyniol o lwyddiant ar ei ymdrechion. Dywedir fod lle i 80 i eistedd yn yr ystafell hon, a byddai bron yn llawn bob nos Sul yn y blynyddoedd hyny, ac Ysgol Sul o 50 i fyny bob Sul. Yr ydym yn deall fod llwyddiant cyffelyb ar y genhadaeth yn awr.

## GWERTH Y FYWOLIAETH.

Tybir yn gyffredin gan y lluaws fod bywoliaethau Eglwysig yn llawer brasach nag ydynt. Mae y fywoliaeth hon yn cynwys plwyf Trefdraeth a phlwyf Llangwyfan. Pan wnaethpwyd y cyfnewidiad yn null talu y degwm plwyfol i'r offeiriad rhoddwyd pris degwm Trefdraeth yn £380

| | |
|---|---|
| Llangwyfan yn | £242 |
| Cyfanswm | £622 |

Dyna yw pan mae y degwm yn ei lawn werth, h.y., yn gant y cant. Gŵyr y cyfarwydd fod gwerth y degwm wedi myned i lawr yn agos i haner ei werth yn ddiweddar. Yn awr, er gweled gwerth y fywoliaeth rhaid edrych beth yw ei gwerth yn awr, ac nid i ba faint y cafodd ei phrisio yn 1836. Dyma fel y gosodir y gwerth presenol i lawr yn Nghalendar yr Esgobaeth am y flwyddyn ddiweddaf (1903):—

| | |
|---|---|
| Gwerth presenol y degwm ... | £414 |
| Derbyniwyd am gladdu, priodi, &c. | 2 |
| 7½ erw o dir Eglwysig ... ... | 22 |
| | £438 |

Dyna y derbyniadau. O'r rhai hyn yr oedd raid talu trethi lleol ac ymherodrol, &c., yn nghyda chyflog i Gurad, yr hyn a dynodd y swm uchod i lawr i £227 A THY.

## CYFLWR CREFYDDOL Y PLWYF YN 1776.

Ar ei ymweliad cyntaf yn y flwyddyn 1776 darfu i'r enwog Esgob John Moore, yr hwn oedd wedi ei benodi i'r Esgobaeth y flwyddyn flaenorol, roddi taflen i bob clerigwr, yn cynwys pedwar o gwestiynau, y rhai oeddynt i'w hateb, a'u hanfon i'r Esgob. Mae yr attebion perthynol i bob plwyf ar gael eto yn Swyddfa Gofrestol, Bangor. Ymddengys mai y Parch. Hugh Price, y Curad, oedd mewn gofal yn Trefdraeth ar y pryd; ond y Parch. Richard Griffith oedd y Rheithior. Wele yn canlyn atebion Mr. Price am gyflwr Trefdraeth a Llangwyfan:—

1. "Atebaf fod nifer cymunwyr y Pasg diweddaf yn agos i 200 yn Trefdraeth, ac yn nghylch 70 yn Llangwyfan, mai y nifer arferol o gymunwyr ar adegau eraill o'r flwyddyn ydyw tuag wyth ugain; a chredaf nad oes gwahaniaeth rhwng nifer y cymunwyr ar y Pasg diweddaf, a'r blynyddoedd blaenorol.

2. "Atebaf nad oes Pabyddion, na rhai yn cael eu cyfrif yn Babyddion, yn mhlwyf Trefdraeth na Llangwyfan.

3. "Atebaf fod tri neu bedwar o Ymneillduwyr Protestanaidd yn byw yn mhlwyf Trefdraeth, y rhai ydynt mi gredaf, o syniadau yr Annibynwyr, ac a fynychant addoliad mewn capel trwyddedig, yn mhlwyf Llangristiolus; a chyda'r eithriad o'r rhai hyn, nid oes yr un arall o'r plwyfolion yn Bresbyteriaid, Annibynwyr, Ail-fedyddwyr, na Chrynwyr. Enw yr athraw yw Abraham Tibbot. Mae eu nifer, hyd eithaf fy ngwybodaeth, yr un faint ag arferol. Nid oes

Ymneillduwyr Protestanaidd o fath yn y byd yn mhlwyf Llangwyfan.

4. "Atebaf nad wyf yn meddwl fod mwy na phedwar teulu yn mhlwyf Trefdraeth nad ydynt yn mynychu cyfarfodydd y Methodistiaid yn achlysurol, er nad ydynt gryfion yn y duedd hono. Nis gwn enwau eu hathrawon, gan nad oes ganddynt dŷ cwrdd yn fy mhlwyfydd i ; yn gyffredin, ânt i'r Aberffraw, a lleoedd eraill. Mae eu rhif yn debyg fel yr arfera fod. Yn Llangwyfan nid oes ond ychydig, neu ddim Methodistiaid.

HUGH PRICE,
Curad Trefdraeth a Llangwyfan."

Oddiwrth yr uchod, gwelir nad oedd y Methodistiaid yn Ymneillduwyr yr adeg yna. Cadwent eu cyfarfodydd ar wahan i'r Eglwys, ond gofalent am fynychu gwasanaethau yr Eglwys yn rheolaidd, a derbyniant y cymun wrth ei hallorau.

## PENNOD III.

### RHESTR O REITHIORIAID Y PLWYF.

NA fydded i neb feddwl fod y rhestr hon yn gyflawn; nis gellir cael un gyflawn, mae'n debyg, byth o unrhyw blwyf. Y naill a'i nid oedd cofnodion yn cael eu cadw cyn yr unfed-ganrif-ar-bymtheg, neu ynte maent oll wedi myned ar gyfrgoll.

Gosodwn yma y rhestr fel y gwelir hi yn "Mona Antiqua," y Parch. H. Rowlands, gan ychwanegu y rhai a bennodwyd ar ol ei amser ef.

| | |
|---|---|
| | Lewis ap Gwrgene. |
| 1546 | David Owen. |
| 1561 | Hugh Morgan, LL.B. |
| 1564 | David Lloyd ap Meredydd. |
| | Henry Rowlands (Esgob Bangor). |
| 1606 | Henry Parry, B.D. |
| 1618 | John Meredydd, M.A. |
| | William Hill, D.D. |
| | Esgob Bayly (Bangor). |
| 1626 | Griffith Williams, D.D. (Esgob Ossory). |
| | David Lloyd, D.LL. |
| 1642 | Robert Morgan, B.D. (Esgob Bangor). |
| | William Lloyd, M.A. |
| 1661 | Hugh Humphreys, M.A. |
| | Lewis Lloyd, M.A. |
| 1702 | Hugh Wynne, M.A. |

1715 Owen Hughes, B.LL. ac M.A. (Chancellor).
1740 Hugh Hughes, A.M. (Deon).
1744 William Hughes, A.B.
1747 Robert Lewis, A.M. (Chancellor).
1766 Thomas Bowles, D.D.
1773 Richard Griffith, M.A.
1790 John Kyffin.
1824 Harry Williams.
1826 Robert Williams, M.A.
1849 Hugh Davies Owen, D.D.
1880 John Pryce, M.A.
1902 John Morgan, M.A.

Yn awr rhaid i ni droi yn ol, a rhedeg ein llygaid, drachefn, drwy y rhestr uchod, a phigwn un yma ac acw o'r enwau, er gwneyd ychydig sylwadau ar eu bywyd a'u gwaith. Mae Trefdraeth wedi ei freintio âg offeiriaid enwog iawn ar hyd y canrifoedd, ond prin y gallwn gredu eu bod wedi eu gwerthfawrogi, yn gyfartal i'w gwerth, gan y plwyfolion. Y mae hanes y mwyafrif ohonynt erioed heb ei ysgrifenu, a'u gweithredoedd heb eu croniclo. Dichon mai y rhai a adawn allan o'r rhestr ganlynol, oedd y rhai a wnaethant fwyaf o ddaioni yn eu dydd; ond yn aml mae ffawd yn greulawn, yn gadael y da a'r llesol heb ei ddyrchafu, ac yn dadlenu creigiau moelion a digynyrch.

HENRY ROWLANDS.—Bu gofal y plwyf, mewn un ystyr, ar y gŵr enwog hwn am tuag wyth mlynedd, sef o 1598-1606. Ar y pryd, yr oedd Rowlands yn Esgob Bangor; ni fu yn trigo erioed yn Trefdraeth, ond talai i Gurad am wasanaethu yma, ond yr Esgob oedd y Rheithior. Yr oedd

Rowlands yn raddolwr o Rhydychain. Un o fechgyn Lleyn oedd, genedigol o Mellteyrn, ac fel llawer o blant Lleyn, daeth yn enwog. Addysgwyd ef yn Ngholeg Newydd Rhydychain. Yn y flwyddyn 1572 penodwyd ef i Reithioriaeth Mellteyrn, ei hen gartref, ac wedi hyny, darfu i'r awdurdodau yn Rhydychain ei benodi yn Rheithior Taunton. Yn y flwyddyn 1584 derbyniodd yr anrhydedd a'r teitl o Ganon (Prebendari Penymynydd) Eglwys Gadeiriol, Bangor, a Rheithioriaeth Aberdaron yn 1588. Yn y flwyddyn 1593, gwnaed ef yn Ddeon Bangor; ac yn Nhachwedd, 1598, cysegrwyd ef yn Esgob Bangor. Daliodd y swydd am 18 mlynedd, a bu farw yn Nghorphenaf, 1616, a chladdwyd ef yn Eglwys Gadeiriol ei Esgobaeth. Y mae delw gerfiedig o hono i'w gweled hyd y dydd heddyw yn yr Eglwys Gadeiriol, ond fod milwyr Cromwell wedi tori ei phen ymaith.

Yn ei ewyllys rhoddodd yr Esgob Rowlands amaethdy enwog, o'r enw Llyslew, yn mhlwyf Llanidan, tuag at gynal ysgol ramadegol râd yn Bottwnog, Lleyn. Mae Llyslew wedi bod yn cynyrchu dros £300 o ardreth yn flynyddol. Heblaw hyn, rhoddes Rowlands £6 yn flynyddol o ardreth Nantporth, ger Bangor, tuag at gynal ysgolheigion tylodion yn yr ysgol hono. Erbyn hyn mae yr ysgol ramadegol hono, a fu yn gwneyd gwaith mor rhagorol am ganrifoedd, wedi ei chymeryd oddiar yr Eglwys, a'i throi yn ysgol ganolraddol, a rheolaeth eiddo yr Esgob Rowlands, mewn dwylaw gwahanol i'r rhai y bwriadodd efe.

Efe, hefyd, sefydlodd yr elusendai i chwech o ddynion tylodion yn Mangor, ac a'u gwaddolodd.

Henry Parry, B.D.—Penodwyd y gŵr enwog hwn i'r plwyf yn y flwyddyn 1606, a bu yn Rheithior am 12 mlynedd,

sef hyd 1618. Daeth yma o Rhosgolyn, lle y bu yn Rheithior am y pum' mlynedd blaenorol. Credwn mai yr un Henry Parry yw hwn â'r Henry Parry a ddaeth yn Rheithior Llanfachraeth, Môn, ar ol hyn. Os felly, yr oedd yn un o ddisgynyddion Richard Owen Tudur, o Benymynydd, Môn, yn ddyn dysgedig, ac yn daid i'r enwog Dr. Maurice, y duwinydd, a Chaplan i'r Archesgob Sancroft. Bu H. Parry farw yn Llanfachraeth, a chredwn iddo gael ei gladdu yno. Cyhoeddodd *Areithyddiaeth* W. Salisbury, a chynorthwyai lawer ar ysgolheigion tylodion.

LEWIS BAYLEY.—Tra yn Esgob Bangor, bu hefyd, yn Rheithior y plwyf hwn, fel yr enwog Rowlands, rhwng 1618 a 1626. Yr oedd efe yn enedigol o Sir Gaerfyrddin. Yr hyn a'i henwogodd ef fwyaf, mae'n debyg, oedd y llyfr poblogaidd a gyhoeddodd, o'r enw "*Practice of Piety*," cafodd gylchrediad helaeth iawn, a dywedid fod ei ddarllenwyr, ar y pryd, yn lluosocach na darllenwyr y Beibl. Credwn ei fod wedi ei gyfieithu a'i gyhoeddi yn Gymraeg. Bu farw 1631, a chladdwyd ef yn ei Eglwys Gadeiriol, yn medd yr Esgob Meyrick, un o hen deulu Bodorgan.

GRIFFITH WILLIAMS, D.D.—Ganwyd Dr. Wiliams mewn lle o'r enw Trefeilian, Llanrug, yn 1587. Penodwyd ef yn Rheithior Trefdraeth yn 1626, pan yn 27 mlwydd oed. Mawrygid ef yn fawr oherwydd ei alluoedd pregethwrol digyffelyb, a'i fywyd dichlynaidd a duwiolfrydig. Yr oedd yn un o Gaplaniaid y Brenin Charles I., a phenodwyd ef i Ganoniaeth Mynachlog, Westminster. Yn 1638 gwnaed ef yn *Ddeon* Bangor, ac yn Archddiacon Môn. Ac yn 1641 dyrchafwyd ef i Esgobaeth Ossory, yn yr Iwerddon. Yn

Hydref, y flwyddyn uchod, cododd y Gwyddelod mewn rhyfel yn erbyn gwŷr Lloegr, a ffôdd yr Esgob Williams i Loegr. Yr oedd yn bresenol yn Mrwydr Edge Hill, fel Caplan i Charles I. Ymneillduodd i le o'r enw Plas Hwfa, yn mhlwyf Llanllechid; trigodd yma am 12 mlynedd, ar ychydig iawn o foddion, llai nag ugain punt y flwyddyn! Cafodd gynyg ar amryw ddyrchafiadau gan y Seneddwyr, ar yr amod fod iddo ymddarostwng iddynt hwy, a pheidio dal o blaid y brenin, ond er mor dylawd ydoedd, gwrthododd y cwbl. Goroesodd ei drallodion, ac adferwyd ef i'w sefyllfa flaenorol. Dychwelodd i'w Esgobaeth—Ossory—yn 1660, ac arhosodd yno hyd ei farwolaeth yn 1692, yn 84 mlwydd oed. Yn ei ewyllys gadawodd *Plas Hwfa*, i dylodion Llanllechid am byth. A gadawodd £50 yn y flwyddyn i dylodion plwyf Ossory.

ROBERT MORGAN, B.D.—Dyma Reithior eto ddaeth yn Esgob. Apwyntiwyd ef i'r plwyf hwn yn 1642, o daliodd y fywoliaeth hyd 1660, sef am 18 mlynedd. Yr oedd yn enedigol o le a elwid Bronfraith, yn mhlwyf Llandysilio, Sir Drefaldwyn. Bu yn Gaplan i'r Esgob Dolben (Bangor), ac yn Brebendari Eglwys Gadeiriol, Caerlleon, ac yn Ficer Llanfair (Dinbych). Pan yn Rheithior Trefdraeth, daliai, hefyd, Rheithioriaeth Llanddyfnan. Ni chafodd lawer o amser manteisiol i weithio yn Nhrefdraeth, oblegid daeth yn rhyfel gartrefol yn 1645, ac mewn canlyniad, collodd Morgan ei holl feddiannau, ac amddifadwyd ef o'i benodiadau Eglwysig; a dywedir iddo ddioddef llawer o galedi. Ar derfyn y cyfnod cythryblus hwnw yn 1660, adferwyd ef i'w sefyllfa gyntefig, a phenodwyd ef yn Archddiacon Meirionydd yr un flwyddyn. Cysegrwyd ef yn Esgob Bangor yn 1666.

Bu ar ei orsedd am 7 mlynedd, a bu farw yn 1673, yn 65 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn yr Eglwys Gadeiriol.

OWEN HUGHES, B.LL. a M.A.—Penodwyd y gwr dysgedig hwn i'r fywoliaeth yn 1715, a daliodd y rheithioriaeth am bum' mlynedd, a bu farw yn y flwyddyn 1740. Yn ystod yr amser y bu yma gwnaed ef yn Ganghellydd yr Esgobaeth. Efe hefyd oedd Rheithior Aberffraw yr un adeg. Nid oes genym hanes fod y ddau blwyf hyn wedi cael eu rheoli gan yr un Rheithior ar ol y dyddiad hwn.

HUGH HUGHES, A.B.—Ganwyd ef yn y Wîg, ger Aber, Bangor. Daeth i Drefdraeth yn 1740, a bu yma am bedair blynedd. Yna symudodd i Ficeriaeth Bangor yn 1744. Yn y flwyddyn 1746 ychwanegwyd Llanbeulan iddo, ac yn 1750 sefydlwyd ef yn Ddeon Bangor. Ni chafodd, pa fodd bynag, ond tair blynedd yn ei swydd aruchel, canys bu farw yn 1753.

ROBERT LEWIS, A.M.—Cyn ei ddyfodiad i Drefdraeth yn 1747 yr oedd wedi treulio chwe' blynedd fel Rheithior Llansadwrn. Yn ystod ei weinidogaeth o 19 mlynedd yn y plwyf cafodd ei ddyrchafu yn Ganghellydd yr Esgobaeth. Yn ei amser ef y dechreuodd Ymneillduaeth droedio yr ardal hon. Tua'r flwyddyn 1760 pregethid yn Glantraeth. Bu farw yn y flwyddyn 1766. Byddai yr hen Ganghellydd yn marchogaeth ar farch gwyn bob amser; nid oedd ond ychydig o ddefnyddio cerbydau y pryd hyny, ac nid oedd tren yn y wlad hon; meirch oedd y cyfryngau mwyaf cyffredin i deithio. Anaml y gwelid y Canghellydd heb ei farch gwyn. Bu yn anifail ffyddlon iawn am amser maith, ond bu farw y march, a chafodd gladdedigaeth barchus o dan ochr y graig sydd tu allan i ardd y Rheithiordy, ac yr

oedd yno hen garreg fawr ar ei fedd. Ond er ei gladdu, a chladdu ei farchogwr, yr oedd ystori ar led yr ardal rhyw lai na chan' mlynedd yn ol y byddid yn gweled y Canghellydd Lewis yn marchogaeth ei farch gwyn mewn gwahanol fanau! Ymddengys ei fod yn gymeriad cryf ac yn meddu dylanwad mawr yn mhlith pob dosbarth o'i blwyfolion. Yr oedd yn cymeryd dyddordeb mawr yn nghaniadaeth yr Eglwys, ac yr oedd ganddo gôr rhagorol, yn mysg rhagorolion y dyddiau hyny. Gwnaeth oriel yn mhen gorllewinol yr Eglwys, uwchben lle y mae y Fedyddfaen yn awr, ac yno y byddai y côr yn ystod y gwasanaeth. Mae yn y festri yn awr lechfaen rydd, yn cofnodi y ffaith hon am yr oriel. Mae y cofnodiad wedi ei dori ar gefn beddfaen i ferch a gwraig Richard Williams, Treddafydd Uchaf, neu Fawr, fel y gelwir ef yn yn awr. Dyma yr argraff:—

This Galery was Erected in y year 1761 at the expense of

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| O. Meyrick, Esq. | ... | £5 | 5 | 0 |
| C. Evans, Esq. ... | ... | 2 | 7 | 0 |
| R. Lewis, Rector ... | ... | 2 | 7 | 0 |
| J. Griffith, Clr., &c., | ... | 1 | 1 | 0 |
| Rd. Williams ... | ... | 1 | 1 | 0 |

Psal 48. 13.

"Fel y mynegoch i'r oes a ddelo ar ol."

THOMAS BOWLES, D.D.—Penodwyd Dr. Bowles i Drefdraeth yn 1766, gan yr Esgob Egerton, yr hwn oedd yn Sais, ac heb feddu cydymdeimlad ag anghenion y Cymry. Sais oedd Dr. Bowles hefyd, ac yr oedd yn hollol analluog i weinyddu yn Gymraeg. Yr oedd Trefdraeth yn hollol Gymreig y pryd hyny fel yn awr. Gwrthwynebwyd ei

apwyntiad gan warcheidwaid Trefdraeth, a chefnogwyd hwynt gan y plwyfolion, a daeth amryw eraill allan i'w cynorthwyo, megis Syr Watkin Williams Wynn, Lewis Moris (Llewelyn Ddu o Fôn), ac eraill. Dygwyd y mater o flaen llys cyfreithiol, a gellir gweled adroddiad llawn o'r gweithrediadau yn yr Amgueddfa Brydeinig. Y prif dystion yn ei erbyn yn y llys oeddynt Mri. R. Williams, Treddafydd, John Thomas, Tanylan, a Hugh Williams, y Crydd. Yn y llys profwyd i foddlonrwydd y Barnwr nad oedd Dr. Bowles yn alluog o gwbl i weinyddu yn iaith plwyfolion Trefdraeth, ac yn mhellach nad oedd ei amddiffyniad yn onest a didwyll. Darfu i ddyfarniad y llys gyfiawnhau gwaith y gwarcheidwaid yn ei wrthwynebu, er na amddifadwyd Dr. Bowles o fuddiannau y fywoliaeth, eto bu yn wers ragorol i Esgobion Cymru i fod yn ofalus yn eu penodiadau. Dyma eiriau y Barnwr ar yr achos: "Mae yn briodol i Esgobion Cymru gymeryd y fath drefn tuag at ofalu dros eneidiau fel ag i apwyntio bugeiliaid fyddont yn gydnabyddus ag iaith y wlad. Deddf foreuol yr Eglwys ydyw, ac y mae yn ddeddf yn awr."

Mae plwyfi gwledig Cymru yn ddyledus hyd heddyw i blwyfolion Trefdraeth am wneyd gwrthsafiad mor gadarn ac egwyddorol yn erbyn gormes Esgobion Seisnig. Rhoddodd yr achos hwn gychwyniad mewn symudiad mawr: symudiad a raddol ymledodd yn ei ddylanwad, fel erbyn heddyw, nad oes un plwyf Cymreig heb offeiriad yn Gymro glân i ofalu am dano, nac Esgobaeth yn Nghymru heb Gymro ar ei gorsedd.

JOHN KYFFIN.—Yr oedd y Rheithior hwn yn dal Rheithioriaeth Bangor er y flwyddyn 1785, ac yn y flwyddyn 1790 ychwanegwyd Rheithioriaeth Trefdraeth ati hi. Cadwai

Gurad hynod o ymdrechgar a llwyddianus yn Trefdraeth, o'r enw H. Williams.

Yn y flwyddyn 1793 adgyweiriodd Eglwys y Plwyf, ac yn 1819 adeiladodd Reithiordy newydd yn Trefdraeth. Bu farw yn 1824. Erys y Rheithiordy eto am oesau yn faen coffadwriaethol ar ei ol.

ROBERT WILLIAMS.—Neu, fel yr adwaenid ef fynychaf y pryd hyny, Dr. Williams. Daeth yma yn 1826. Bu yn Rheithior y plwyf am dair-blynedd-ar-hugain. Bywyd tawel a dirodres oedd ei fywyd tra bu yn gweinidogaethu yma; ni fedd ei hanes lawer o ddyddordeb i'r rhai nad adwaenent ef.

Addysgwyd ef yn Ysgol y Friars, Bangor, o dan ei gefnder, Dr. Peter Williams, yr hwn a fu unwaith yn Rheithior Llanbedrog, ger Pwllheli. Yna aeth i Christ Church College, Rhydychain, lle y graddiodd, ac urddwyd ef yn Ddiacon yn Eglwys blwyfol Eccleshall, yn Swydd Stafford, gan Dr. James Cornwallis, Esgob Lichfield a Coventry, ar Mehefin 15fed, 1800. Ei le cyntaf oedd Gaplan ei goleg yn Rhydychain. Derbyniwyd ef i'r Offeiriadaeth Rhagfyr 20fed, 1801, gan Dr. John Randolf, Esgob Rhydychain. Pan ymadawodd Dr. Randolf o Rhydychain, i fod yn Esgob Bangor, yn y flwyddyn 1806, daeth Robert Williams gydag ef, fel ei Gaplan. Yn fuan wedi hyn penodwyd ef yn Rheithior Bottwnog a Mellteyrn, yn Lleyn, lle yr arhosodd hyd y flwyddyn 1816. Y pryd hyn daeth yn Brif-athraw Ysgol y Friars, Bangor. Y pryd hyny yr oedd y Friars yn ysgol bwysig iawn; cynwysai rhyw 60 neu 70 o rai yn byw i mewn *(boarders)*. Yn y flwyddyn 1821, derbyniodd fywoliaeth Llandyfrydog, gyda Llanfihangel Tre'rbeirdd, yn Môn. Nid ymddengys iddo fyned i'r plwyf hwnw i fyw, ond cadwai

Gurad yno, a thrigai yn Mangor i gario yn mlaen waith yr ysgol. Yn y cyfnod hwn cafodd ei ddyrchafu i fod yn un o Ganoniaid yr Eglwys Gadeiriol. Ymadawodd o Fangor yn y flwyddyn 1826, i gymeryd lle Harry Williams yn Trefdraeth, lle y bu farw Hydref 25ain, 1849.

Yn ystod ei Reithioriaeth, ychwanegodd y rhan orllewinol o'r Rheithiordy, at y rhan oedd ei ragflaenydd, John Kyffin wedi ei adeiladu. Gan mai newydd ei adeiladu oedd y tŷ, yr oedd yn naturiol fod ei amgylchoedd yn anorphenedig, ac efe a drefnodd y gerddi o'i amgylch, ac efe, hefyd, a blanodd yr holl goed yn yr ardd. Dywedir iddo roddi tô newydd ar yr Eglwys hefyd. Nis gall hyn fod yn hollol wir, oblegid mae coed y tô yn llawer hynach nag ef. Y peth mwyaf tebygol yw iddo drwsio ychydig yma ac acw ar y coed, fel y mae yr olion yn dangos, a rhoddi *llechau* newydd arni.

Ymddengys mai dyn yn cymeryd dyddordeb mawr mewn addysg oedd Dr. Williams. Yr oedd mor enwog yn y cyfeiriad hwn, fel y bu am rai blynyddau, ar ol ei ddyfodiad i'r plwyf, yn cymeryd dynion ieuaingc i'w parotoi ar gyfer yr Athrofa yn Rhydychain, a lleoedd eraill. Daeth lluaws o'i hen ddisgyblion gydag ef o Ysgol y Friars. Parhaodd pethau yn y dull yma am tua phum' mlynedd ; a chredwn i'r rhai olaf ymadael tua'r flwyddyn 1831. Gyda gwaith o'r fath yn gorphwys arno, nid hawdd oedd iddo dalu sylw mawr i faterion plwyfol. Er hyny, gwelai angen am addysg yn ei blwyf, a'r plwyfi cylchynol, ac ymrôdd i wneyd i fyny y diffyg. Cafodd deulu Meyrick, Bodorgan, i weithio gydag ef, ac i gyfranu at y gwaith, a thrwy ei ymroddiad *adeiladwyd yr ysgol ddyddiol gyntaf yn yr ardaloedd.* Cymerai

ddyddordeb mawr ynddi. Efe, gan hyny, yw tad addysg elfenol plwyf Trefdraeth.

Yr oedd Eglwys Llangwyfan mewn cyflwr lled ddrwg yr adeg hon, yr adeilad yn graddol ddirywio, a'i safle ar yr "ynys anhapus" yn peri llawer o anhawsder iddo. Yr oedd hi yn mhell oddiwrth boblogaeth y plwyf, ac nis gellid myned iddi ond ar adegau neillduol, obiegid fod llanw y môr yn ei hamgylchu. Yr oedd yn ei fwriad i gael eglwys newydd mewn lle mwy cyfleus yn y plwyf, ond yn y dyddiau hyny nid oedd ond ychydig o'r cyfoethogion mewn cydymdeimlad âg ymdrech o'r fath. Yr oedd yr holl blwyf oddigerth un amaethdy yn perthyn i Bodorgan, ond nid oedd y bobl dda hyny ar y pryd yn gweled eu ffordd yn glir i roddi y cynorthwy angenrheidiol, ac felly bu raid i ddymuniad da y Dr. Williams farw cyn ei eni.

Yr oedd Eglwys Llangwyfan y pryd hyny yn cael ei gwasanaethu gan y Parch. John Roberts, curad Aberffraw; a chadwai Dr. Williams gurad o'r enw Edwards i wasanaethu yn Llandyfrydog a Thre'rbeirdd.

Dylaswn fod wedi dweyd i Dr. Williams fod yn gaplan i'r Esgob Majendie tra y bu hwnw yn dal awenau yr Esgobaeth.

HUGH DAVIES OWEN, D.D.—Apwyntiwyd Dr. Owen i'r plwyf yn 1849, fel olynydd i'r Dr. Williams. Daeth yma o Llanfaes, Beaumaris, a "gair da" iddo wedi cyraedd yn mhell o'i flaen, ac y mae yn aros yn y plwyf ar ol ei gladdu, bellach er's 23 mlynedd. Yr oedd Dr. Owen yn ysgolhaig gwych. Danghosodd yn ei arholiadau yn Rhydychain mai nid dyn o alluoedd cyffredin ydoedd. Mewn gair, cyflawnodd wrhydri yno. "Cymerodd yr ail ddosbarth yn ei

13 *term* o Ysgol Beaumaris, tra o dan 19 *mlwydd* oed." Bu yn brifathraw llwyddianus yn Ysgol Ramadegol Beaumaris, ac yn ficer poblogaidd ac ymdrechgar yn Llanfaes. Tra yn ficer yn y plwyf uchod adgyweiriodd yr eglwys yn brydferth, yr hon oedd wedi myned i gyflwr lled ddirywiedig cyn ei ddyfodiad yno.

Ar ei ddyfodiad i Drefdraeth gafaelodd yn ei waith o ddifrif. Cymerai ddyddordeb mawr yn addysg ieuengctyd y plwyf, ac ymgymerodd â gosod yr ysgol ddyddiol mewn cyflwr mwy effeithiol. Fel y gwelir yn hanes "Addysg y Plwyf." Dr. Owen a roddes ddarn helaeth o'r tir sydd o dan, ac o amgylch yr ysgoldy presenol; a chofier, nid ei roddi o dir Eglwysig, ond o'i dir personol ei hun, sef rhan o'r fferm Carreg Ceiliog Fawr. Heblaw hyn, yr oedd yr holl arian a dderbyniwyd at ail-adeiladu yn rhy brinion i orphen y gwaith, ac aeth Dr. Owen yn ewyllysgar i'w logell ei hunan a thalodd y swm o £217 11*s*. 2*d*. Iddo ef mae trethdalwyr Trefdraeth yn ddyledus am yr adeilad ragorol hon, ac y mae wedi arbed y trethi byth er hyny. Pa faint mae Ysgol Genedlaethol Trefdraeth wedi arbed o gostau i'r plwyfolion? Mae yn anhawdd dweyd, ond credwn ein bod o dan y swm pan ddywedwn iddi arbed dros £3,000. Mae rhan fawr o'r clod am hyn yn ddyledus i Dr. Owen, a'r gweddill i'w ragflaenydd a'i ddilynydd.

Heblaw Ysgol Trefdraeth, adeiladodd y Dr. Parchedig ysgol yn Malltraeth hefyd, er mwyn plant tylodion y pentref hwnw. Ond ni chyfyngodd ei lafur i addysg elfenol y plwyf; yr oedd pob rhan o waith yr Eglwys yn cael ei sylw manylaf. Adgyweiriodd yr eglwys yn drwyadl. Rhoddodd seddau newyddion ynddi i gyd, a phwlpud a darllenfa, a

gosododd bob peth ar sail dda a threfnus. Efe hefyd a fu yn foddion i gychwyn gwasanaethau rheolaidd yn Ysgoldy neu Gapel Cenhadol Malltraeth; a danghosodd farn ragorol yn ei ddewisiad o'r darllenydd lleygol cyntaf, John Owen, yr hwn a fu farw rhyw dair blynedd yn ol yn Rheithior Llanfihangel-y-Pennant, Eifionydd. Mae enw John Owen yn anwyl yn Malltraeth hyd heddyw. Yn yr adeg yma yr oedd llwyddiant mawr yn Malltraeth.

Yn nesaf troes Dr. Owen ei olwg i blwyf Llangwyfan, yr hwn oedd dan ei ofal. Yr oedd sefyllfa yr eglwys yno wedi peri poen a phryder i'r Dr. Williams cyn hyn, ond yr oedd efe wedi methu gwella pethau yno. Ar y pryd yr oedd yr eglwys ar yr "ynys anhapus" yn nghwr y môr, a'r llanw yn ei hamgylchu fel nas gellid myned yno ond ar y trai; o ganlyniad, ni chedwid gwasanaeth ynddi ond bob yn ail Sul. Yr oedd yno ystafell gysegredig mewn ffermdy, Llangwyfan Isaf, lle y cynhelid y gwasanaeth pan nas gellid croesi y llanw. Heblaw hyn, yr oedd yr eglwys yn y man pellaf oedd yn bosibl oddiwrth y plwyfolion. Gwelai Dr. Owen nas gellid llwyddiant heb ad-drefnu y plwyf. Ymroddodd i wellhau y sefyllfa. Adeiladodd eglwys blwyfol, a mynwent gyda hi, yn nghanol y plwyf yn y flwyddyn 1871; ac erys am oesoedd i ddod i ddyrchafu ei enw yn mhlith y plwyfolion.

Cafodd y Rheithiordy ei sylw hefyd, a gwnaeth luaws mawr o gyfnewidiadau, ychwanegiadau, a gwelliantau, fel y costiodd y cwbl ddim llai na £600 ar y Rheithiordy yn unig.

Ond nid y gwaith cerrig a'r calch oedd yn cael ei sylw yn unig; na, yr oedd pob rhan o'r gwaith ysbrydol yn y plwyf

yn cael ei sylw manylaf. Cymerai ddyddordeb neillduol yn hyfforddiant plant y plwyf mewn *addysg grefyddol.* Yn ei amser ef y sefydlwyd yr Ysgol Sul Eglwysig yn y plwyf. Cyn hyny ymddibynid ar yr addysg grefyddol a roddid yn yr ysgol ddyddiol. Dywedir wrthym weithiau fod yr Eglwys wedi bod yn anniben iawn cyn sefydlu Ysgol Sul yn Trefdraeth, ac fod yr Ymneillduwyr yn mhell ar y blaen; hwyrach, ond rhaid cofio fod gan yr Eglwys rywbeth oedd yn tra rhagori ar ysgol Sul yn y plwyf, sef *ysgol bob dydd o'r wythnos* i ddysgu addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Ni pheru yr Ysgol Sul ond rhyw awr a haner unwaith yr wythnos, tra y ceir addysg well, fwy pendant, yn yr Ysgol Genedlaethol *bob dydd.*

Yr oedd yn ofalus iawn am y tlawd a'r claf hefyd, a byddai yn garedig iawn wrthynt. Yr oedd yn rhoddwr mawr.

Dyn syml, hollol unplyg oedd, nid oedd ganddo feddwl gwael na drwg am neb, ac ni chredai yn fuan fod gan neb arall feddyliau na bwriadau isel. Yr oedd mor bur a diniwed a'r oenig, ac mor lân ei fuchedd a gwawr y boreu.

Wedi cyraedd henaint a llesgedd corphorol, rhoddodd y fywoliaeth i fyny yn 1880, ac ymneillduodd i Beaumaris, lle y bu farw Medi 4ydd, 1881, yn 85 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Trefdraeth, lle y bu yn Rheithior am 30 o flynyddoedd.

John Pryce, M.A.—Apwyntiwyd ef i'r plwyf yn 1880, ar ymddiswyddiad Dr. Owen. Addysgwyd ef yn Ngholeg yr Iesu, Rhydychain; graddiodd yn B.A. yn 1851, ac yn M.A. yn 1863. Urddwyd ef yn Ddiacon yn 1851. Yn Offeiriad yn 1852, gan Esgob Bethel, Bangor. Gwasanaeth-

odd fel Curad Dolgellau, a Phrif-athraw yr Ysgol Ramadegol yno o 1851-56. Curad mewn gofal yn Glanogwen, 1856-64. Ficer St. Mair, Bangor, 1864-80. Yn y flwyddyn 1886 dewiswyd ef yn Brwyadur (*Proctor*) dros y Deon a Glwysgor Bangor, i'w cynrychioli yn y Confocasiwn. Rhwng y blynyddoedd 1883 ac 1887, bu yn Ysgrifenydd i Gymdeithas Adeiladu Eglwysydd yr Esgobaeth; ac yn Ysgrifenydd Cynhadledd Flynyddol yr Esgobaeth o 1884 hyd 1889. Yn y flwyddyn 1882 dewisodd yr Esgob Campbell ef yn Gaplan i arholi ymgeiswyr am urddau. Derbyniodd yr un penodiad dan y diweddar Esgob Lloyd, a thrachefn dan yr Esgob presenol. Apwyntiwyd ef yn Ganon Trigianol yn 1884, ac yn Archddiacon Môn a Bangor yn 1887. Ar farwolaeth y diweddar Ddeon Lewis, penodwyd ef yn Ddeon Bangor yn 1902. Bu farw Awst 15fed, 1903, a chladdwyd ef yn mynwent Trefdraeth Awst 18fed.

Yn ystod ei weinidogaeth, cyhoeddodd amryw o lyfrau hanesyddol safonol, megis "The Early Church;" "The Ancient British Church;" "Yr Eglwys Foreuol" (Cymraeg), &c.

## RHESTR O GURADIAID Y PLWYF.

Ofnwn nad yw ein rhestr yn gyflawn, ond gwnaethom ein goreu, ac wele y canlyniad :—

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Y Parch. | Evan Roberts, | a benodwyd | yn | 1664 |
| „ | Hugh Price, | „ | „ | —— |
| „ | Richard Lloyd, | „ | „ | 1778 |
| „ | H. Williams, | „ | „ | 1801 |
| „ | H. Weir White, M.A., | „ | „ | 1826 |
| „ | Hugh Owen, | „ | „ | 1848 |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Y Parch. | William Hughes, | a benodwyd | yn | 1851 |
| ,, | Hugh Davies Owen, | ,, | ,, | 1854 |
| ,, | Owen John Owen, | ,, | ,. | 1859 |
| ,, | Richard Jenkins, | ,, | ,, | 1862 |
| ,, | W. J. Francis, B.A., | ,, | ,, | 1867 |
| ,, | Robert Williams, | ,, | ,, | 1869 |
| ,, | Samuel Jones, | ,, | ,, | 1871 |
| ,, | Jenkyn Davies | ,, | ,, | 1876 |
| ,, | E. R. Jenkins, | ,, | ,, | 1876 |
| ,, | W. Anwyl Roberts, | ,, | ,, | 1875 |
| ,, | —— Davies, | ,, | | 1881 |
| ,, | Richard Evans, | ,, | ,, | 1881 |
| ,, | Owen Owens, | ,, | ,, | 1886 |
| ,, | David Griffith, | ,, | ,, | 1899 |
| ,, | J. C. Morrice, | ,, | ,, | 1902 |
| ,, | T. A. Jones, | ,, | ,, | 1903 |

### DYNION O'R PLWYF A GODWYD YN OFFEIRIAID.

Nid yw yr oll o'r personau isod yn frodorion o'r plwyf, ond maent wedi bod mewn cysylltiad neillduol â'r plwyf cyn eu dyrchafu.

1. Y Parch. THOMAS WILLIAMS, Th.A., Ficer Connah's Quay, mab Dr. Williams, Rheithior Trefdraeth.

2. Y Parch. HUGH DAVIES OWEN, M.A., Penymynydd, mab y diweddar Dr. Owen, Trefdraeth.

3. Y Parch. OWEN JOHN OWEN, mab Trefeilir, Trefdraeth, yr hwn a laddwyd trwy ddamwain yn 1869.

4. Y Parch. DANIEL LLOYD, M.A., Rheithior presenol Shipston-on-Stour. Cychwynodd ei yrfa fel myfyriwr, yn Carreg Gruffydd. Deuai at y diweddar Mr. Leech, Bethel,

i gael gwersi. Y mae yn ysgolhaig gwych, a bu yn dal safleoedd pwysig yn yr Esgobaeth hon cyn ei ymadawiad o Llandrygarn, i'r lle y mae yn awr, yn y flwyddyn 1896. Yr oedd yn y plwyf ychydig dros 40 mlynedd yn ol.

5. Y Parch. JAMES SMITH, diweddar Ficer Rhosybol.—Bu ef yn Ysgolfeistr yn y plwyf, ond ymadawodd oddiyma i Goleg St. Bees, tua'r flwyddyn 1866. Cafodd ei urddo yn 1869, a bu farw yn Ficer Rhosybol yn nechreu 1902.

6. Y Parch. HUGH OWEN.—Bu yntau yma fel *Pupil Teacher*, ac wedi hyny fel Ysgolfeistr trwyddedig. Newidiodd gwrs ei fywyd ; aeth i fyny i'r Offeiriadaeth, a bu am beth amser yn Gurad yn Nghaernarfon.

7. Y Parch. DAVID JONES.—Mab ydoedd ef i'r diweddar Hugh Jones, "y llifiwr," yr hwn oedd yn byw yn y Faesdon. Bu farw ychydig flynyddau yn ol yn Merthyr Tydfil.

8. Y Parch. JOHN OWEN.—Bu John Owen yn Ddarllenydd Lleygol llwyddianus yn Nghapel Cenhadol Malltraeth, a than gyfarwyddyd Deon Edwards, Bangor, parotowyd ef at y weinidogaeth. Urddwyd ef yn 1877 yn Gurad Aberffraw, yna symudodd i Llangristiolus, oddiyno i Llangwyllog, o'r hwn le y dyrchafwyd ef yn Rheithior Llanfihangel y-Pennant, Eifionydd, lle y bu farw rhyw bedair blynedd yn ol.

9. Y Parch. J. R. PRYCE, M.A., Eastham, Birkenhead.—Mab Deon diweddar Bangor ydyw ef. Ymbaratôdd, ac urddwyd ef tra yr oedd ei dad yn Rheithior Trefdraeth.

10. Y Parch. OWEN GORONWY PRITCHARD, Rheithior presenol Llangower.—Brodor o'r Gaerwen yw Mr. Pritchard, ond bu yn gwasanaethu fel Darllenydd Lleygol yn Malltraeth am gyfnod o ddwy i dair blynedd. Aeth drwy Goleg Dewi

Sant, Llanbedr. Urddwyd ef yn Gurad Minera; symudodd i Abergele, yna yn Rheithior Llangower, yn Esgobaeth Llanelwy.

11. Y Parch. O. HUGHES, Curad presenol Aberffraw.

RHESTR O DDARLLENWYR LLEYGOL Y PLWYF, O'R DECHREU HYD YN AWR.

1. Mr. John Owen, Llangeinwen.
2. „ William Roberts, Glanadda Bangor.
3. „ Edward Godwin Thomas, Bethel.
4. „ John Roberts, Port Dinorwig.
5. „ Richard Hughes, Llanddaniel.
6. „ Owen Hughes, Bethel.
7. „ David Jones, Bodffordd, Heneglwys.
8. „ Owen Goronwy Pritchard, Gaerwen.
9. „ Owen Roberts, Llangeinwen.
10. „ John Williams, Talwrn.
11. „ John Thomas, Llangoed.

## PENNOD IV.

### Elusenau y Plwyf.

#### *Y Dull Boreuol.*

HEN arferiad yr Eglwys foreuol oedd fod casgliad yn cael ei wneyd yn Ngwasanaeth y Cymmun *bob Sul* tuag at gynorthwyo y tylodion. Mewn rhai lleoedd hefyd gellid gweled rhai teilwng o elusen yn ymgasglu o amgylch porth llawer Eglwys ar foreu Sul i ddisgwyl am gardod gan eu brodyr cyfoethocach ; a byddai y Diaconiaid yn cymeradwyo y rhai mwyaf teilwng o honynt i sylw y rhoddwyr. Yn aml hefyd byddai gan yr Offeiriad plwyfol, a'r Wardeiniaid, rhyw elusenau i'w rhanu bob boreu Sul. Y ffurf fwyaf cyffredin ar y math yma o elusen oedd "bara," wedi ei wneyd yn dorthau bychain, cyfleus, a dyna paham y parheir i alw Eglwyswyr hyd heddyw yn "ddisgyblion y torthau ;" awgrymir mai er mwyn "cael" yr ânt i'r Eglwys o hyd. Yn ychwanegol at hyn y mae un o Ganonau yr Eglwys (84) yn gorchymyn i flwch neu gist gael ei darparu a'i dodi yn yr Eglwys, i dderbyn rhoddion y rhai hyny a fynychant yr Eglwys ar amserau heblaw amserau y Cymmun. Yn hen Eglwys Clynnog Fawr gwelais "gyff Beuno," sef math o gist fechan, gref a wnaeth St. Beuno, i dderbyn rhoddion tuagat gynal y tylodion, &c. Dywedir ei bod yno er's tri-chant-ar-ddeg o flynyddoedd! Mae blychau bychain bron yn mhob Eglwys, yn rhywle yn agos i'r porth, ac y mae un yn Eglwys Trefdraeth, ar y llaw aswy wrth fyned i mewn, yn ochr y

porth, ond ofnwyf mai ychydig o waith rhanu sydd ar ei gynwys.

Dylid cofio mai yr Eglwys, fel sefydliad, oedd yn gofalu am y tylodion yn y plwyf ar hyd y canrifoedd, hyd nes y pasiwyd "Deddf y Tylodion" yn y flwyddyn 1834. Gwir fod rhyw fath o "ddeddf y tylodion" er's amser cyn hyn ond nid fel yn awr, yn rhoddi cymorth plwyfol. Yn y canol oesoedd, ac hyd y Diwygiad yn yr unfed-ganrif-ar-bymtheg, yr oedd y tylodion yn cael eu cynal yn helaeth o'r Monachlogydd; ond dinystriwyd hwynt, a chymerwyd eu heiddo a'u gwaddol oddiarnynt gan Harri VIII. Ar ol hyn gwelwn gyfeillion y tylawd yn rhoddi rhoddion parhaol yn eu bywyd, ac yn eu hewyllysiau tuagat gynorthwyo y tylodion; rhai yn rhoddi arian, eraill dyddynod, ac eraill ran o ardreth eu hetifeddiaeth. Nid oes ond ychydig o blwyfi heb eu breintio yn y modd yma. Ond fel y mae'r gwaethaf, mae lluaws mawr o'r rhai hyn wedi eu colli. Ymddengys fod yna rhyw ddiofalwch anesgusodol wedi bod ar Offeiriad a Gwarcheidwaid plwyfol diwedd y ddeunawfed ganrif a dechreu y bedwaredd-ar-bymtheg, oblegid dyna y cyfnod y collwyd mwyaf o'n helusenau plwyfol. Mae yr elusenau oedd ar gael yn nghyfrifon Seneddol 1786, yn aml erbyn Adroddiad 1833, wedi diflanu. Anaml y canfyddir elusen wedi ei cholli yn ystod y deugain mlynedd diweddaf.

## MAEN ELUSEN TREFDRAETH.

Mae llawer o Eglwysi yn cynwys cofnodiad ar gerrig o'r gwahanol elusenau a rhoddion a berthynant i'r plwyf. Mae yma un hefyd, ac mae mewn cadwraeth ragorol yn y festri; ond gwell fyddai iddi fod wedi ei gosod yn y mur, nag yn

rhydd fel y gwelir hi yn awr. Bu yn eithaf diwerth am flynyddoedd lawer, yn cael ei defnyddio yn faingc i ddal llestri dwfr yn nhŷ Thomas Jones, y Clochydd, ond achubwyd hi. Dyma yr hyn sydd arni :—

"A table of the names of the several Benefactors and their respective benefactions to the poor of the parish.

| | Principal | | |
|---|---|---|---|
| | £ | s. | d. |
| John Pugh Gwilym ... ... ... | 26 | 13 | 4 |
| Robert Roberts ... ... ... | 20 | 0 | 0 |
| | Annually | | |
| Ellen Griffith ... ... ... | 1 | 0 | 0 |
| Griff. Wm. do ... ... ... | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Parry 24 loaves ... ... | 0 | 2 | 0 |
| Catherine Evans do ... ... | 0 | 2 | 0 |
| Owen Jones late of Marian ... ... | 0 | 8 | 0 |
| Richard Williams late of Treddafydd uchaf | 0 | 10 | 0 |
| Owen Williams late of Treddafydd isaf ... | 0 | 4 | 0 |

This stone was erected at the expense of Richard Wm. 1766."

Oddiwrth Adroddiad Dirprwywyr Elusenau, a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1833, gwelir fod amryw o elusenau o'r math hyn wedi eu gadael i'r plwyf hwn o dro i dro.

ELUSENAU JOHN PUGH GWILYM A ROBERT ROBERTS.

Ymddengys fod un o'r enw John Pugh Gwilym wedi gadael y swm o £26 13*s.* 4*d.* i dylodion Trefdraeth, ac fod un arall o'r enw Robert Roberts wedi rhoddi £20 i'r un amcan, yn gwneyd y swm o £46 13*s.* 4*d.* Pan wnaed ymchwiliad i'w hanes gan Ddirprwyr Elusenau yn y flwyddyn 1786, ymddengys fod yr holl swm yn nwylaw Owen Putland

Meyrick, Bodorgan. Rywbryd yn ddiweddarach defnyddiwyd yr arian hyn ac arian eraill perthynol i'r plwyf, i adeiladu deg o dai bychain yn Lon Groes, Yard Malltraeth, ar ddarn o dir a brynwyd gan y plwyf i'r dyben hwnw. Yn yr Elusendai hyn byddai teuluoedd tylodion yn cael preswylio yn ddi-ardreth.

Wrth eu hadeiladu, pa fodd bynag, yr oedd yn angenrheidiol benthyca arian i'w gorphen, a rhoddwyd marwystl *(mortgage)* arnynt i'r benthyciwr. Rywfodd cynyddodd y ddyled arnynt i £150; ac ar gais y plwyf, rhoddes "Bwrdd Deddf y Tylodion" ganiatad i'w gwerthu i doddi y ddyled; a gwerthwyd hwynt i Mr. Hugh Williams, Tanlan, Trefdraeth, am y swm o £49 12*s* 9*d.*; a defnyddiwyd y swm hwn, fel rhan, i dalu y ddyled i Mr. Hugh Lewis, Bryn sinc, Niwbwrch. Gwnaed hyn yn y flwyddyn 1869; a chodwyd dros £100 o dreth ar y plwyf i dalu y gweddill. Drwy rhyw ddiofalwch, mae yn ymddangos fod yr elusen yma wedi bod yn fwy o golled nag o enill i'r plwyf.

## ELUSEN ELLEN GRIFFITH.

Yn ol Adroddiad Seneddol gyhoeddwyd yn 1786, ymddengys fod un o'r enw Ellen Griffith (nid yw yn hysbys pwy ydoedd), wedi rhoddi £2 yn flynyddol i'r tylodion, ac fod y swm hwn i ddyfod allan o dir perthynol i Mr. Pool, yr hwn oedd oruchwyliwr i Syr Hugh Owen. Yn ol yr un Adroddiad derbynid £2 yn flynyddol oddiwrth Mr. Rowland Williams, goruchwyliwr Arglwydd Dinorben, allan o'r etifeddiaeth a berthynai i'w Arglwyddiaeth yn Bôdowen. Derbynid hwynt gan Warcheidwaid yr Eglwys; a rhenid eu haner, sef £1, ganddynt yn mhlith y tylodion yn gyffredinol

mewn symiau yn amrywio o 6*c.* i 2/-, ar ddydd Gwyl St. Thomas, a rhenid y £1 arall mewn bara ar ddydd y Pasg.

Yn ddiweddarach derbynid y £2 gan y Gwarcheidwaid oddiwrth Mr. Thomas Prichard, goruchwyliwr Syr George Meyrick, Barwn, yr hwn yw perchenog presenol Bôdowen. Rywfodd rhoddwyd yr elusen tuag at gynal yr Ysgol ddyddiol yn Trefdraeth, gan gredu yn ddiau y buasai addysg yn fwy o gaffaeliad i'r tylodion na'r ffurf arall oedd ar y rhanu yn flaenorol. Yn y cyfnod hwn, i fyny hyd y flwyddyn 1877, rhenid y swm rhwng ysgol Trefdraeth ac ysgol Yard Malltraeth ; ond nid ymddengys fod y trefniad hwn yn bodoli cyn 1874, oblegid yn Hydref y flwyddyn hono rhanwyd £8, sef arian pedair blynedd, rhwng 56 o dylodion, mewn glo, &c., yn amrywio mewn gwerth o 1/6 i 5/-. Mae yr elusen hon yn cael ei gweinyddu gan y Gwarcheidwaid Eglwysig.

### ELUSEN GRIFFITH WILLIAMS.

Ymddengys oddiwrth y "Maen Elusen," yn gystal ag oddiwrth Adroddiad Seneddol 1786 fod un o'r enw uchod wedi rhoddi 10/- yn flynyddol i dylodion y plwyf ; ond yn ol Adroddiad Dirprwywyr Elusen yn 1833, ymddengys fod y rhodd yn ddirym yn unol â "Deddf y llaw farw." (*Mortmain Act, 9 Geo. 2. c. 36).*

### ELUSEN THOMAS PARRY.

Elusen fechan iawn yw hon. Nid yw ond *dau swllt* y flwyddyn. Rhoddwyd hi gan y gwr uchod, i gael ei thalu allan o ystad Mr. Pool, goruchwyliwr Syr Hugh Owen. Pan wnaed ymchwiliad gan y Dirprwywyr yn 1833, ymddengys nad oedd dim yn cael ei dderbyn o'r elusen, ac nid ym-

ddengys ei bod yn adnabyddus i olynydd Mr. Pool; ei hamcan ydoedd rhoddi bara i'r tylodion, ond mae wedi ei cholli.

## ELUSEN CATHERINE EVANS.

Yn ol Adroddiad Seneddol 1786, rhoddes un o'r enw Cathrin Evans y swm o £2, gyda chyfarwyddyd fod eu llôg i gael ei wario am fara i'r tylodion. Yr oedd yr arian ar yr amser uchod i gael eu talu gan un Richard Jones; a byddai Richard Jones yn talu 2/- bob blwyddyn hyd ei farwolaeth, ac wedi hyny gan ei weddw hyd ei marwolaeth hithau, yr hyn a gymerodd le tua'r flwyddyn 1813. Ar ol hyny ni dderbyniwyd dim. Yn y flwyddyn 1833 gwnaed cais ar ei nhai, yr hwn oedd ei chymynweinydd *(executor)* am daliad o'r £2 llog oedd erbyn hyn yn ddyledus; ond nid ymddengys fod neb heddyw yn gwybod dim beth ddaeth o'r cais na'r elusen, ac mae'n debyg na cheir gafael arni mwy.

## ELUSEN OWEN WILLIAMS.

Dyma elusen werthfawrocaf y plwyf ar hyn o bryd. Oddiwrth Adroddiad Seneddol 1786 ymddengys fod Owen Willlams, Treddafydd Isaf yn ei ewyllys, wedi rhoddi tir yn werth £1 12*s.* y flwyddyn, tuag at brentisio plant tylodion. Y pryd hyny yr oedd yr arian dan reolaeth y Gwarcheidwaid Eglwysig.

Mae y tir crybwylledig yn cynwys amaethdy a thir cysylltiedig âg ef yn mhlwyf Niwbwrch, yn cynwys 1*a.* 2*r.* 14*p.* at yr hwn yr ychwanegwyd 2*a.* 3*r.* 4*p.* rhyw bedwar ugain mlynedd a deg yn ol, pan gauwyd Morfa Malltraeth.

Tua'r flwyddyn 1823, cawn fod un John Garmon yn dal y tir a'r tŷ am y rhent blynyddol o £3 15*s.* ar addewid ar

ran y plwyf i beidio cynyddu ei rent am 20 mlynedd, ar y dealltwriaeth ei fod yntau i adeiladu tŷ da arno. Cyflawnwyd y cytundeb hwn yn foddhaol.

Y ffordd a arferid fyddai cadw y rhent blynyddol am dair blynedd, yna defnyddio'r swm i brentisio plentyn tlawd o'r plwyf, yr hwn a ddewisid gan y festri. Prentisiwyd 14 o blant y plwyf ar bwys yr elusen hon rhwng y flwyddyn 1811 a'r flwyddyn 1833. O hyny hyd ymweliad Dirprwywyr Elusen yn 1896 nid yw yr Adroddiad yn gyflawn ; ond o'r flwyddyn 1880 hyd 1895. Cafodd *saith* o blant eu prentisio, a derbyniasant £80 o'r elusen hon tuag at eu gynorthwyo. O'r flwyddyn 1895 hyd yn awr prentisiwyd tri o blant. Gwerth blynyddol yr elusen yn awr ydyw £5, dyledus ar Glangauaf.

Ymddiriedolwyr presenol yr elusen yw Cyngor Plwyf Trefdraeth.

## Elusen Owen Jones.

Yn ei ewyllys, dyddiedig Mehefin 9fed, 1788, rhoddodd Owen Jones, Marian, Trefdraeth, y swm o £30 i'w ferch Agnes, a Mary Hughes, ei ferch-yn-nghyfraith, a'i wyrion Robert ac Anne Roberts, Anne Jones ac Elizabeth Jones, mewn ymddiriedaeth iddynt hwy ac i'w hetifeddion ar eu holau. Yr oeddynt i roddi y £30 mewn lle dyogel, ac i gynyrchu llôg o 30*s.* y flwyddyn am byth, ac fod y 30*s.* hyn i gael eu defnyddio fel y canlyn :—12*s.* i blwyf Llan Gadwaladr ; 10*s.* i blwyf Llanbedr, Newborough, a'r swm o 8*s.* gweddill i blwyf Trefdraeth ; ac fod y symiau i gael eu rhanu rhwng y gwrthrychau tylotaf yn mhob plwyf ar ddydd Gwyl St. Thomas bob blwyddyn, gan y gwarcheidwaid Eglwysig yn ol eu doethineb. Ac er mwyn mwy o sicrwydd

mewn perthynas i dalu yr arian hyn i'r gwarcheidwaid, darfu i'r testamentwr roddi rhanau o'i etifeddiaeth i bob un o'r ymddiriedolwyr uchod, a'u bod i ddal y rhanau hyny tra y parhaent i gyfranu arian yr elusen, ond os na thalent, fod rhan y gwrthodwr o'r etifeddiaeth i'w chymeryd oddiarno a'i rhoddi i'r sawl a garia allan ei ewyllys. Mor ofalus oedd am y tlawd !

Rywbryd torodd y teulu yn ddwy gangen, a rhanwyd etifeddiaeth Owen Jones rhyngddynt ; yna yr oedd un gangen o'r teulu i dalu 3*s.* a'r llall i dalu 5*s.* yn flynyddol. Yn y flwyddyn 1833 yr oedd y 3*s.* yn cael ei dalu yn rheolaidd, ond gwrthodai y gangen arall o'r teulu dalu y 5*s.* gweddill, a dadleuent nad oeddynt yn rhwym i'w thalu, gan fod y rhodd yn ofer a dirym yn ol "deddf y Llawfarw" (*Mortmain Act*, 9 *George II.*, *c.* 36).

Yn y flwyddyn hon (1833) yr oedd un o'r enw David Jones, tenant tir Tyddyn Adda a Thyddyn Crythor, sef tir y diweddar Owen Jones, Marian, yn talu i blwyf Llangadwaladr y swm dyledus o 12*s.* Ond nid oes dim yn dod oddiwrth yr elusen hon yn awr i blwyf Trefdraeth na Llangadwaladr, na Newborough ; a pha bryd y gwnaed y taliad diweddaf mae yn anhawdd gwybod.

Mae Tyddyn Adda yn awr yn meddiant Robert Davies, Ysw., Bodlondeb, Bangor, ac y mae Tyddyn Crythor yn meddiant Mr. William Hughes, Tyddyn Isaf, Pentraeth ; ac nid yw yn ymddangos fod y naill na'r llall yn gwybod dim am yr elusen dyledus o'r tiroedd hyn, a dywedir nad oedd grybwylliad am hyn yn ngweithredoedd pryniant y tir.

Felly mae yr elusen hon eto wedi ei cholli, ac nid oes neb yn barod i'w hadnewyddu.

## ELUSEN RICHARD WILLIAMS.

Yn ol ei ewyllys, dyddiedig Ebrill 28ain, 1777, rhoddodd Mr. Richard Williams, Treddafydd, Trefdraeth, dŷ a gardd, yn agos i Eglwys Niwbwrch, ar yr ochr dde-orllewin iddi, i dylodion plwyf Niwbwrch a Threfdraeth am byth. Bwriadai i'r arian blynyddol a dderbynid fel rhent am yr eiddo gael eu rhanu yn gyfartal rhwng y ddau blwyf. Derbynid 10*s*. yn flynyddol gan y gwarcheidwaid Eglwysig i fyny hyd y flwyddyn 1842, ond nis gellid sicrhau beth a ddaeth o honynt ar ol hyny. Mae y gwarcheidwaid presenol yn sicrhau na dderbyniwyd hwynt er's dros 40 mlynedd o'r hyn lleiaf. Mae pob ymchwil wedi ei wneyd gan Ddirprwywyr 1896 i geisio dod o hyd i'r hwn a ddylai eu talu, ond yn hollol ofer. Mae yr Allt Gwta (oblegid dyna enw'r ty dan sylw) yn awr yn meddiant Mr. David Williams, Glasdo, Ffestiniog, a derbynia rent blynyddol o 30*s*. am dano. Ac er fod gryn dywyllwch yn gordoi yr amser y collodd y plwyf ei hawl, eto nis gellir amheu hawl y perchenog presenol.

## RHODDION ERAILL I'R PLWYF.

Gellid enwi a manylu ar amryw roddion gwerthfawr eraill a roddwyd yn ddiweddarach, megis tir at adeiladu capel Methodistiaid Yard Malltraeth; tir at adeiladu Ysgol Genedlaethol yn yr un lle; a thir i adeiladu ysgol a thy yn mhentref Bethel hefyd; ond daw y rhai hyn dan ein sylw wrth ymdrin âg hanes Ymneillduaeth ac Addysg yn y plwyf. Yn mhlith y rhai hyn hefyd yr ymddengys y llain tir a roddes Mr. Meyrick, Bodorgan, i'r Methodistiaid Calfinaidd yn Bethel tua'r flwyddyn 1816.

## PENNOD V.

### HANES ADDYSG ELFENOL YN Y PLWYF.

PAN benodwyd Dr. Robert Williams yn rheithior y plwyf hwn yn 1826, tarawyd ef ar unwaith mai un o anghenion mawr ei blwyf oedd addysg. Yr oedd hyn yn berffaith naturiol iddo ef; yr oedd yn dod yno yn syth o fod yn brifathraw Ysgol flodeuog y Friars, Bangor. Nid hir y bu heb ymdrechu llanw y diffyg yn ei blwyf. Cynlluniodd, a darbwyllodd eraill i gymeryd dyddordeb yn y cwestiwn pwysig hwn, oedd yn tynu sylw y wlad y dyddiau hyny, sef addysg elfenol. Ymunodd teulu Meyrick, Bodorgan, gydag ef, ac amryw bersonau dylanwadol eraill, yn cynwys Rheithior Llangadwaladr—y Parch. John Hughes Williams, B.A. Canlyniad y cwbl fu adeiladu ysgoldy yn mhentref Bethel, ar gyfer y ddau blwyf—Trefdraeth a Llangadwaladr. Agorwyd yr ysgol hon yn 1828, a hi oedd yr ysgol gyntaf o'r fath yn yr holl blwyfydd cylchynol. Cymerai y Dr. Williams ddyddordeb mawr ynddi, a phrofodd yn fantais anrhaethadwy i luaws mawr o ieuengctyd y plwyfi o amgylch. Wrth gwrs, araf, fel pob sefydliad o'r fath, y cychwynodd, ond ni bu yn hir cyn dod yn ddylanwad mawr er daioni. Yr ysgolfeistr cyntaf a fu yma oedd un o'r enw Horatio Davies. Nid oedd yr adeilad yn fawr o ran maintioli. Ei hyd, 11 llath; lled, 6 llath: ac yn cynwys digon o le i 99 o blant, yn ol chwe troedfedd ysgwar i bob un.

Bu am flynyddoedd yn graddol ddadblygu i'r hyn ydyw

yn awr. Nid oedd yr addysg ar y dechreu ond syml ac elfenol iawn; a gellid gweled bechgyn a genethod o 12 i 15 oed, a chwaneg na hyny, yn ymboeni wrth ddysgu ysgrifenu eu henwau. Nid oedd ond nifer bychan iawn o destynau chwaith yn cael eu dysgu ar y dechreu, ond graddol gynyddent. Nodwedd arall oedd, nad oedd y mwyafrif mawr yn aros ond ychydig iawn yn yr ysgol. Y syniad presenol yw fod *raid* i'r plentyn gael deg neu ddeuddeng mlynedd o ysgol cyn ei droi allan i enill ei fara; ond y syniad y pryd hyny oedd y byddai yn dda iawn ar blentyn os y caffai 12 mis o ysgol. Pa fodd bynag, gwellhaodd pethau ac eangodd syniadau y plwyfolion, fel yr oedd yr ychydig addysg a geid yn cael daear yn mywyd y plwyf.

## Cyflwr yr Ysgol yn 1847.

Yn y flwyddyn uchod talodd Dirprwywyr apwyntiedig y Llywodraeth ymweliad â'r ysgol hon fel pob un arall, ac mae eu hadroddiad yn ddyddorol a phwysig. Yn mhlith pethau eraill, dywedant mai ysgol mewn cysylltiad â'r Gymdeithas Genedlaethol er hyrwyddo addysg y tylodion yn egwyddorion yr Eglwys Sefydledig oedd; fod yr ystafell mewn cyflwr tra boddhaol; yn cynwys cyflenwad da o ddodrefn mewn cyflwr boddhaol; a chyda golwg ar rif y plant, cawn y manylion a ganlyn:—

Rhif ar y llyfrau ... ... ... 83
Presenol ar gyfartaledd ... ... 59

Ysgolheigion yn dod i'r ysgol am lai na blwyddyn ... 9
" " " am fwy na blwyddyn a llai na dwy 12
" " " 2 " thair 15
" " " 3 " phedair 35
" " " am fwy na phedair blynedd 15

O ran oedran, safai yr ysgolheigion fel hyn :—

| | |
|---|---|
| Rhwng 5 a 10 ced ... ... ... | 60 |
| Dros 10 oed ... ... ... ... | 23 |

Cyfartaledd am y flwyddyn 1846 : 65

Am yr ysgolfeistr, rhoddir y ffeithiau canlynol :—Mai ei waith blaenorol oedd dilledydd, ond ei fod wedi dechreu fel ysgolfeistr pan oedd yn 34 oed, ac yr oedd yn awr yn 42. Ei gyflog oedd £26 yn y flwyddyn. Yr oedd £20 yn cael eu derbyn oddiwrth geiniogau y plant, ac yr oedd y gweddill i orphen ei gyflog ac i gyfarfod a threuliadau yr ysgol yn dyfod oddiwrth danysgrifiadau, y rhai oedd tua £26 yn y flwyddyn.

Y testynau a ddysgid :—Yr Ysgrythyr, Catechism yr Eglwys, Darllen, Ysgrifenu, Rhifyddiaeth, Gramadeg Saesoneg, Cerddoriaeth.

Oddiwrth hyn gwelwn fod addysg sylweddol ac eang yn cael ei chyfranu cyn derbyn *grant* o'r Llywodraeth na Rheolau y Bwrdd Ysgol.

### ADRODDIAD YR ARHOLWR.*

Cawn adroddiad yr Arholwr yn yr un flwyddyn, dyddiedig Hydref 29ain. Wele grynhodeb ohono :—

Nifer yn bresenol, 59. Yr oedd 15 yn alluog i ddarllen y Beibl gyda rhwyddineb, ac yn gydnabyddus â phrif ffeithiau yr Ysgrythyr. Dysgent ramadeg Saesoneg, ac hefyd i ysgrifenu ar lyfrau *(copies)*. Yr oedd 46 o'r llyfrau wedi eu hysgrifenu yn *dda*, a 23 gystal ag y gellid disgwyl. Yr oedd 30 o blant yn dysgu y Catechism ; ac yr oedd 15 yn gallu ei adrodd yn berffaith. Meddai yr ysgolfeistr

* Report of Commission of Inquiry into the state of Education in Wales, 1847 (Bangor Free Library).

ddisgyblaeth dda; yr oedd y genethod yn cael dysgu gwaith edau a nodwydd. Cymerai yr ysgolfeistr boen fawr i eglurhau y gwersi i'r plant, er nad oedd ganddo yr un athraw nac athrawes gynorthwyol.

Dyna swm a sylwedd yr adroddiad, ac y mae yn adlewyrchu llawer o glod ar yr athraw—Dafydd Hughes,—ac ac ar y Dr. Williams, a phawb eraill oedd wedi dwyn yr ysgol i'r fath gyflwr mor lewyrchus, a'r cwbl yn hollol *wirfoddol*, heb ddim i'w cymell i wneyd y fath aberth ond cariad gwirioneddol at lesiant y genedl oedd yn codi. Ond ni aberthwyd erioed ar well allor, nac i well nac uwch dyben.

### AIL-ADEILADU A HELAETHU YR YSGOL YN 1859.

Yn y flwyddyn 1849 y daeth Dr. Owen yn Rheithior y plwyf, ac efe ei hunan wedi bod yn ysgolfeistr yn Beaumaris am amser. Yr oedd yn llawn sêl dros addysg yr ieuangc, a gwnaeth ei oreu i ychwanegu at ddefnyddioldeb yr ysgol mewn gwahanol ffyrdd, ond yn benaf drwy ofalu am ysgolfeistriaid da. Ymddengys i'r ysgol roddi camrau cyflym yn mlaen, ac yn mhen llai na deng mlynedd ar ol ei ddyfodiad penderfynodd ail-adeiladu a helaethu yr ysgol. Gellir yn hawdd weled pa mor fawr oedd ei gariad at lesiant yr ardal pan edrychir ar y ffaith iddo roddi y darn tir ar ba un y saif yr ysgol yn awr, yn rhad ac am ddim, allan o'i etifeddiaeth bersonol ei hun.

Yr oedd y darn tir hwn yn rhan o Carreg Ceiliog, a mesura 1*r.* 30*p.* Rhoddwyd hi gan Hugh Davies Owen yn 1859, ar y 12fed dydd o Orphenaf, trwy ganiatad yr Esgob Campbell, i Weinidogion a Gwarcheidwaid Eglwysig plwyfi Trefdraeth a Llangadwaladr, i'r dyben fod i'r adeilad oedd

ar y tir, neu a godid, i fod am byth i gael ei defnyddio yn ysgol i addysgu plant a rhai mewn oedran, neu blant yn unig, perthynol i'r dosbarth llafurol a dosbarthiadau tylodion eraill yn mhlwyfi Trefdraeth a Llangadwaladr, ac fod yr ysgol i fod yn agored i arolygiad arolygydd yr ysgolion bob amser, ac i gael ei dwyn yn mlaen yn wastadol yn unol ag egwyddorion y Gymdeithas Genedlaethol. Yn mhellach, fod yr ysgol i gael ei rheoli gan Reithior Trefdraeth, Rheithior Llangadwaladr, Gwarcheidwaid y ddau blwyf, a chwech o bersonau eraill.

Dyna yn fras gynwys y weithred a drosglwyddodd y llain tir at wasanaeth addysg y ddau blwyf. Ar hwn yr adeiladwyd yr ysgoldy rhagorol sydd yno heddyw. Costiodd £914 17*s*. 8*c*. Yr oedd y tanysgrifiadau yn cyrhaedd £697 6*s*. 6*c*., a thalodd Dr. Owen o'i logell ei hun y gweddill, sef £217 11*s*. 2*c*.

Saif yr adeilad ragorol hon yn gofgolofn hardd o sêl a chariad Dr. Owen at addysg ieuengctyd ei blwyf. Cynyddodd rhif yr ysgolheigion am amser, hyd nes yr adeiladwyd ysgolion eraill yn y cymydogaethau cylchynol. Yn y flwyddyn 1873 adeiladodd Meyrick, Bodorgan, ysgoldy yn Llangadwaladr, ac adeiladwyd ysgoldy arall yn Soar, cornel gyfagos o blwyf Aberffraw, yn y flwyddyn 1875. Effeithiodd hyn yn niweidiol ar rif ysgolheigion Trefdraeth. Effeithiodd ysgoldy Malltraeth o bosibl fwy na'r ddau arall yn nghyd; fel nas gall rhif ei hysgolheigion yn awr gystadlu a'r rhif a feddai pan nad oedd ganddi wrthymgeisydd yn y maes. Cyfartaledd am y flwyddyn yn diweddu 1902 oedd 46. Nifer ar y llyfrau, 60.

## RHESTR O YSGOLFEISTRIAID TREFDRAETH.

1. HORATIO DAVIES. — Dyma ysgolfeistr cyntaf Trefdraeth.

2. —— JONES.—Yr oedd efe yn ddyn mewn gwth o oedran, ac nid arhosodd yma ond ychydig amser.

3. JOHN PARRY.—Dyn bychan o gorpholaeth, a gelwid ef yn gyffredin wrth yr enw "John Parry bach." Yr oedd yn ganwr rhagorol iawn, a byddai galw mawr am dano lle bynag byddai angen am gynorthwy. Byddai yn myned i Gapel y Methodistiaid yn Bethel ar ol y gwasanaethau yn yr Eglwys, er mwyn eu dysgu i ganu.

4. DAFYDD HUGHES.—Nid oedd efe wedi ei ddwyn i fyny yn ysgolfeistr. Dilledydd ydoedd hyd nes yn 34 oed, ond troes allan yn ysgolfeistr rhagorol iawn. Cymerai boen a thrafferth fawr i wneyd i'r plant *ddeall* y gwersi, ac nid eu dysgu fel *parrots*. Yr unig gŵyn a glywais oedd ei fod yn dueddol i fod yn greulawn ar adegau. Yr oedd yn meddu disgyblaeth ragorol ar ei ddisgyblion.

5. WILLIAM FURNALL LEECH.—Yr oedd efe wedi cael addysg ragorol hyd nes yn 21 oed. Dechreuodd ei oes fel swyddog cyllidol y Llywodraeth *(Excise Officer)*. Yr oedd yn gyfaill i Dr. Williams, Trefdraeth, ac ar ei gais yr ymgymerodd a'r gwaith yn yr ysgol; ond ni bu Dr. Williams fyw ond ychydig amser ar ol iddo dd'od yma, ac nid arhosodd Mr. Leech ond ychydig gyda Dr. Owen. Ymddiswyddodd, ac ymgymerodd yn fuan a'r gwaith o gadw y Llythyrdy cyntaf yn y plwyf, a pharhaodd yn y swydd hono hyd ei farwolaeth yn 1891, yn 82 mlwydd oed. Cedwir y Llythyrdy gan ei ferch, Miss E. Leech, hyd heddyw.

6. JAMES SMITH.—Wedi treulio rhai blynyddoedd fel

Ysgolfeistr, aeth ef i Goleg St. Bees, er cymwyso ei hun ar gyfer y weinidogaeth Eglwysig. Urddwyd ef yn Ddiacon yn 1869, ac yn Offeiriad yn 1870. Bu yn Gurad yn Llanfaelog, ac yna yn Amlwch; ac yn 1875 penodwyd ef i fywoliaeth Rhosybol, lle y bu farw yn 1902.

7. W. ROWLANDS.—Dyn bychan, bywiog, yn deall ac yn gwneyd ei waith yn rhagorol oedd hwn. Symudodd oddi yma i Loegr; mae yn awr yn Poole, Dorsetshire.

8. HUGH OWEN.—Gwasanaethodd ef yma fel disgybl-athraw, o dan Rowlands; trwyddedwyd ef yn Ysgolfeistr, a dilynodd ei hen athraw yn yr ysgol hon. Wedi hyn ymbaratodd ar gyfer y weinidogaeth; urddwyd ef, a bu yn Gurad yn Caernarfon.

9. WILLIAM FRANCIS WILLIAMS.—Mab i John Williams, Four Crosses, Treborth, ger Bangor ydyw ef. Daeth yma yn ddyn ieuangc o'r Coleg, a gwnaeth waith rhagorol. Yr oedd ganddo ddylanwad rhyfeddol ar y plant. Ymadawodd oddiyma i Ysgol yr Henblas, Llangristiolus. Mae yn awr yn Ysgol y Bwrdd, Garn Dolbenmaen, Sir Gaernarfon.

10. DAVID THOMAS (Dewi Meirion).—Daeth yma yn ddyn canol oed, o Llanrhaidr Mochnant, a bu yma hyd nes y penodwyd yr Ysgolfeistr presenol yn y flwyddyn 1892. Yr oedd yn fardd da, ac enillodd amryw wobrwyon; magodd rai o'i blant yn gantorion rhagorol; mab iddo ef yw Mr. E. G. Thomas, Llangadwaladr. Symudodd oddiyma i Cilcain, a deallaf ei fod erbyn hyn wedi gwasanaethu ei amser, ac yn byw ar ei flwydd-dâl.

11. OWEN ROBERTS.—Sef y meistr presenol. Daeth yma o Ysgol Llanidan, ac y mae yma bellach er's deuddeng mlynedd, ac yn rhoddi boddlonrwydd yffredinol i bawb.

## YSGOL BABANOD MALLTRAETH.

Adeiladwyd ysgoldy Malltraeth i ddau amcan, sef i fod yn Ysgol ddyddiol i fabanod, ac yn gapel cenhadol ar y Sul i drigolion y rhan boblog hon o'r plwyf.

Yn y flwyddyn 1870, Ionawr 26ain, cawn fod Dr. Owen, Rheithior, wedi prynu darn o dir yn Malltraeth, yn nghwr deheuol y pentref, i'r dyben hwn. Yn fanwl mesura y darn tir ar draws ei wyneb agosaf i'r gogledd 39 troedfedd 3 modfedd ; y pen nesaf i'r dehau 32 troedfedd 3 modfedd ; ar yr ochr nesaf i'r dwyrain 34 troedfedd ; a'r ochr nesaf i'r gorllewin 40 troedfedd. Perchenog blaenorol y tir oedd Owen Morris, yr hwn oedd wedi ei feddianu oddiwrth *Ddirprwywyr Morfa Malltraeth a Chorsddygau* er y flwyddyn 1862.

Yn awr trosglwyddwyd ef drosodd i enw y Rheithior a'r ddau Warcheidwaid Eglwysig. Y Gwarcheidwaid ar y pryd oeddynt William Jones, Glantraeth, ac Owen Jones, Marian. Talwyd deuddeg punt a deg swllt am y tir. Ac yn ol deddf y trosglwyddiad yr oedd Ysgol i gael ei hadeiladu ar y lle er addysgu plant a phobl mewn oed, neu blant yn unig, perthynol i'r dosbarth llafurol, neu rhyw ddosbarth tylodion eraill yn mhlwyf Trefdraeth, ac fod y cyfryw ysgol i fod mewn undeb gwastadol, ac yn cael ei chynal yn unol, âg egwyddorion, y Gymdeithas Genedlaethol Gorphoredig ; ac fod rheolaeth yr ysgol i fod yn nwylaw y Gwarcheidwaid a'r Rheithior, ac fod y Gwarcheidwaid hyny i fod yn gymmunwyr Eglwys Loegr. Dyna yn fyr delerau cytundeb pryniant y tir. Adeiladwyd yr adeilad ar y tir hwn ar gost yr Eglwys, a chychwynwyd ysgol ynddi. Parhaodd yr ysgol elfenol am chwech i saith mlynedd, a chauwyd hi i fyny yn y flwyddyn 1877.

Yn y flwyddyn 1888 gwnaeth y Rheithior, yr Hybarch Archddiacon Pryce, drefniadau er ailgychwyn yr ysgol; a phenodwyd athrawes drwyddedig i ofalu am yr addysg; ac y mae Mrs. Russell, yr hon a benodwyd y pryd hyny, yn parhau mewn gofal hyd heddyw; a chyflawna waith rhagorol.

Yn ol Llyfr Glas y Llywodraeth gwelaf fod digon o le yn yr ysgol hon i 100 o fabanod, ac fod cyfartaledd y presenoldeb am y flwyddyn yn diweddu Ionawr 1902, yn 36, allan o 48 ar y llyfrau.

## DIWEDDGLO.

Mae y ffeithiau uchod am addysg plwyf Trefdraeth yn dangos yn eglur ofal mawr yr Eglwys am addysg pobl ei gofal. Ar draul rhoddion gwirfoddol yr adeiladodd ei hysgolion, ac ar roddion gwirfoddol y bu yn eu gynal am gyfnod maith heb ddimai o roddion y Llywodraeth, a pharha o hyd i'w cynal drwy lawer iawn o hunan-aberth ac ymdrech. Pa nifer bynag o ddynion defnyddiol, a dynion enwog sydd wedi cael eu cychwyn o'r plwyf hwn, dylid cadw mewn cof mai i'r ysgolion cenedlaethol y maent, gan amlaf, i ddiolch am eu cychwyniad; ac os yw moesoldeb y plwyf yn uchel, dylid cofio yn ddiolchgar, fod hyn i'w briodoli i raddau helaeth iawn i'r addysg grefyddol bur sydd wedi ei chyfranu yn ddyddiol er's ugeiniau o flynyddoedd yn yr hen ysgol genedlaethol.

# PENNOD VI.

## Hanes Morfa Malltraeth.

YMAE rhan fawr ar hyd ochr Deheu-ddwyreiniol plwyf Trefdraeth yn cael ei wneyd i fyny o forfa, yn cael ei adnabod wrth yr enw uchod. Ar y cyntaf, ac hyd yn gydmarol ddiweddar, nid oedd y Morfa namyn chwareule tonau'r eigion; gorchuddid ef gan y llanw am filldiroedd i gyfeiriad Llangefni. Mae y Morfa oll yn cael ei wneyd i fyny o ranau o'r plwyfi canlynol:—Trefdraeth, Llangristiolus, Llangeinwen, Llangaffo, Llanfihangel-Esceifiog, Llanidan, a Llanffinan.

Yr oedd yma ddau le neillduol i groesi y Morfa yn yr hen amser. Wrth gwrs yr oedd yn anmhosibl croesi pan fyddai y llanw i fyny, ac nid oedd yn ddiogel i groesi ar y trai, ond yn y ddau le hyn.

Yr oedd un o'r lleoedd hyn yn y lle y 'saif pentref Malltraeth yn awr; defnyddid hwn gan drigolion Llangadwaladr ac Aberffraw, wrth fyned am Abermenai er croesi i Sir Gaernarfon. Nid oes fawr o amheuaeth nad y ffordd yma y byddai taith yr hen dywysogion rhwng y Wyddfa ac Aberffraw. Gelwid lleoedd i groesi wrth yr enw rhŷd. Yn rhywle ar y Morfa, gyferbyn a Malltraeth, yr oedd carreg *ddu* fawr, a hono oedd y nôd i ddangos pa ffordd i fyned; a gelwir tyddyn bychan sydd uwchben Malltraeth, hyd heddyw, wrth yr enw "Rhŷd y maen dŷ." Hwn oedd yr unig dŷ yma y pryd hyny, a safai ar y lan, megis gorsaf cyn cychwyn y daith dros orweddle y môr.

Lle arall i groesi oedd gyferbyn a phen isaf y ffordd sydd yn arwain oddiwrth Eglwys Trefdraeth i lawr i'r Morfa. Yn rhywle tua chanol y Morfa yr oedd yna garreg *wen*, a phan fyddai hono yn y golwg, byddai yn ddyogel i groesi. Yr oedd yn cael ei hadnabod gan y teithwyr, wrth yr enw "Ladi Wen." Yr oedd yr hen foneddiges hon yn ateb dau ddyben, sef dweyd pa *le*, a dweyd pa *bryd* i groesi. Yr oedd yna ffordd y pryd hyny yn arwain o'r Morfa yr ochr draw i fyny dros drum Llangaffo. Credaf fod yr hen ffordd yno o hyd, yn cael ei hadnabod fel "Lôn Dugoed;" mae hi yn wastad â ffordd Trefdraeth; a dyna'r ffordd unionaf i draeddeithwyr o Drefdraeth i Gaernarfon. Byddai yn cael ei defnyddio yn helaeth gan y dosbarth hwn hyd nes y daeth cerdded yn beth allan o'r ffasiwn.

Rywbryd cyn y flwyddyn 1788, daeth perchenogion y tiroedd oedd yn terfynu ar y Morfa i benderfyniad i geisio cau y môr allan o'r Morfa, a rhanu y tir rhwng y perchenogion a allent brofi eu hawl iddo. Er mwyn cyflawni hyn yn rheolaidd, pasiwyd mesur yn y Senedd, yn eu hawdurdodi i wneyd hyn. Gelwid y mesur yn "*Fesur er rhanu a chau y Morfa o elwir Malltraeth a Chorsddygau, yn Sir Fôn, ac er argloddio y Morfa dywededig, ac er gwneyd toriadau, dyfrleoedd, a gweithydd eraill er sychu, a chadw yr unrhyw, ac i ganiatau defnyddiad rhydd o'r cyfryw doriadau, neu ddyfrleoedd gyda chychod, neu lestri eraill, drwy dalu trethi neillduol a roddid tuag at adgyfnerthu y morglawdd a'r gweithfeydd.*" * Pasiwyd y ddeddf hon yn 1788, a gwnaed y goreu o'r darpariadau, ond ychydig a fu y llwyddiant. Methwyd a gwneyd y gwaith yn ddigon effeithiol, yr oedd y môr yn eu gwawdio ar ol pob ymdrech.

* 28 George iii. c. lxxi.

Yn mhen dwy flynedd, sef yn 1790, apeliwyd at y Senedd am ddeddf arall. Gelwid hon yn "*Ddeddf er argloddio y Morfa, a elwir Malltraeth a Chorsddygau, yn fwy effeithiol, a sychu a chadw yr unrhyw, a'r tiroedd isel a gauwyd ato.*" *

Prif amcan y mesur hwn oedd rhoddi hawl i weindddwyr y ddeddf gyntaf i godi arian oddiar berchenogion *tiroedd oedd o amgylch* y Morfa cauedig, y rhai oeddynt wedi cael eu gwella trwy sychu y Morfa. Ar ol dwy flynedd o geisio gweinyddu y ddeddf gyntaf, mae y gweinyddwyr, neu y Dirprwywyr fel y gelwir hwynt, yn canfod yr anhawsder i gael digon o arian i gario yn mlaen eu gwaith enfawr, ac am hyny, drwy yr ail ddeddf, maent yn rhagweled y codid gwerth llawer o diroedd cylchynol, ac mai teg fyddai i berchenogion y cyfryw ddwyn rhan o'r draul.

Wedi cael grym deddf i godi arian tuag at gyflawni y gwaith o wneuthur y môrgloddiau angenrheidiol, a gweithydd eraill cysylltiol, aethpwyd yn mlaen o ddifrif—aethpwyd i gostau mawrion; ond torodd y môr drwodd, dinystriwyd bron yr oll, a safodd y cwbl heb ei gyffwrdd hyd y flwyddyn 1811.†

Yn y flwyddyn 1811 apeliwyd drachefn at y Senedd am ddeddf i gario'r gwaith yn mlaen, ac am alluoedd newyddion i'r Dirprwywyr i godi arian; gelwir hi, "*Deddf i helaethu galluoedd dwy ddeddf Ei Fawrhydi presenol, er cau ac argloddio y Morfa a elwir Malltraeth a Chorsddygau yn Sir Fon, ac er sychu a chadw y tiroedd isel cyfagos a gauwyd ato.*"‡

Roddes y ddeddf uchod allu i'r Dirprwywyr i godi arian tuag at y gwaith heb fod dros haner can mil (£50,000).

* 30 George iii. c. lix. † Gwel Llyfr Angharad Lloyd, p. 19, 20.
‡ 51 George iii. c. cxxxii.

Wedi cael cyfalaf fel hyn at eu galwad aethpwyd yn mlaen i wneyd y gwaith oedd wedi ei ddinystrio, a'i esgeuluso er's dros 20 mlynedd.

Dyma yr amser y gwnaed y môrgloddiau cedyrn presenol. Mae y môrglawdd a rêd o Malltraeth i gyfeiriad Niwbwrch yn dri chwarter milltir o hyd, ac yn saith lath o uchder. Costiodd y gwaith a wnaed yn 1811-1812 y swm o £44,400 allan o'r £50,000 yr oedd ganddynt hawl i'w gwario o dan y drydedd ddeddf Seneddol.

Gwnaethpwyd y gwaith yn effeithiol y tro hwn. A mawr oedd y dyddordeb a gymerid yn ngorpheniad yr anturiaeth. Yr oedd lluaws mawr o weithwyr yn y lle, a chludwyd "drafftiau" anferth o goed mawrion dros y tonau o Gaernarfon, a miloedd o lwythi o gerrig mawrion o "Chwarel y traeth" tuag ato. Mawr oedd y llawenydd pan derfynwyd y cwbl. Dywedir fod y meistriaid gwaith wedi rhostio eidion cyfan er gwneyd gwledd a chynal noswaith lawen i ddathlu yr amgylchiad.

Drwy y gwaith hwn enillwyd llawer iawn o dir i'r perchenogion, oedd o'r blaen yn eiddo y môr. Wele gyfrif o'r *tir a enillwyd* yn mhob plwyf:—

| | | | | | Gwerth trethianol bob blwyddyn. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | A. | R. | P. | | £ | S. | D. |
| Trefdraeth | 743 | 1 | 30 | ... | 224 | 7 | 10 |
| Llangristiolus | 782 | 1 | 20 | ... | 339 | 8 | 6 |
| Llangeinwen | 425 | 1 | 9 | ... | 156 | 11 | 6 |
| Llanidan | 123 | 0 | 9 | ... | 55 | 8 | 9 |
| Llangaffo | 45 | 2 | 14 | ... | 22 | 15 | 10 |
| Llanfihangel-Esceifiog | 403 | 1 | 10 | ... | 248 | 9 | 8 |
| Cyfanswm | 2,523 | 1 | 10 | | £1,047 | 9 | 8 |

TIROEDD A WELLHAWYD.

| Yn mhlwyf | | A. | R. | P. | | Gwerth y gwelliantau yn flynyddol fel sail i'w trethu. £ | S. | D. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Llangristiolus | ... | 537 | 2 | 17 | ... | 203 | 4 | 4 |
| Trefdraeth | ... | 9 | 1 | 13 | ... | 2 | 5 | 11 |
| Llangeinwen | ... | 96 | 0 | 15 | ... | 24 | 0 | 6 |
| Llangaffo | ... | 477 | 0 | 35 | ... | 166 | 2 | 8 |
| Llanfihangel | ... | 135 | 1 | 24 | ... | 45 | 1 | 1 |
| Llanidan | ... | 23 | 1 | 38 | ... | 9 | 7 | 11 |
| Llanffinan | ... | 49 | 2 | 0 | ... | 17 | 6 | 6 |
| Llangefni | ... | 142 | 0 | 3 | ... | 43 | 16 | 9 |
| Cyfanswm | | 1,470 | 3 | 12 | | £511 | 5 | 8 |

Gwelir mai ychydig oedd cyfran Trefdraeth o'r tir a *wellhawyd*, dim ond ychydig dros naw erw, sef gwaelodion tir Ty Mawr, Pwllangau, Tyddyn Crythor, a Thyddyn Domas.

Oddiwrth y tablau uchod enillwyd a gwellhawyd tua 4,000 o erwau trwy waith morgloddiau Malltraeth a Chorsddaugau.

Yn y flwyddyn 1859 apeliwyd am y *bedwaredd* ddeddf Seneddol yn nglyn a'r Morfa. Teitl y ddeddf hon yw "*Deddf i newid, gwella, ac estyn y deddfau er cau, argloddio, a sychu y Morfa a elwir Malltraeth a Chorsddygau yn Sir Fon, ac i ddarparu ar gyfer cadwraeth y morgloddiau a'r afonydd, ac i ddybenion eraill.*"

Prif amcanion y ddeddf hon oedd ail drefnu'r modd i benodi dirprwywyr a'u galluoedd a'u dyledswyddau, yn nghyda rhoddi gallu iddynt godi yr arian oedd heb eu codi o'r swm o £50,000 yr oedd ganddynt hawl i'w codi. Y swm oedd heb eu codi o'r uchod oedd £5,600. Yr oedd y Dirprwywyr wedi myned i ddyled er cadw y morgloddiau mewn

effeithiolrwydd, ac yr oedd adgyweiriadau eraill yn aros eisieu eu cyflawni, a gofynent am hawl i godi y swm hwn mewn ffordd wahanol i'r hen drefn. Ac yn ol y bedwaredd ddeddf hon y rheolir gweithfeydd y Morfa yn awr.

Yn ol papuryn a ddodwyd yn fy llaw y dydd o'r blaen, gwelaf fod y Dirprwywyr wedi bod braidd yn llac gyda'u dyledswyddau yn y gorphenol. Yn y blynyddoedd 1789—1791 benthyciodd y Dirprwywyr y swm o £2,500 oddiar Thomas Williams, Llanidan. Bu y rhai hyny yn cael eu talu yn ddarniog a didrefn iawn am fwy na chan' mlynedd. Yn y flwyddyn 1822 yr oeddynt wedi eu talu ond £241 9*s*. 4*c*. ond gadawyd y rhai hyny am 37 o flynyddau, ac yr oeddynt wedi chwyddo yn £688 3*s*. 7*c*. Ac yr wyf yn deall nad oes ond ychydig o flynyddoedd er's pan mae yr oll wedi eu talu. Pa fodd bynag, mae pobpeth yn awr mewn trefn dda, a'r Morfa yn ffynonell enillfawr i'w berchenogion.

# PENNOD VII.

## YMNEILLDUAETH YN Y PLWYF.

### *Sylwadau Rhagarweiniol.*

FEL yn y rhan fwyaf o blwyfi Môn, daeth y ffurf o grefydd a adwaenir heddyw wrth yr enw uchod i'r plwyf hwn rywbryd cyn diwedd y ddeunawfed ganrif.

Dywedir mai un o'r enw Richard Jones, o Niwbwrch, oedd yr Ymneillduwr cyntaf i bregethu yn y plwyf. Pregethai wrth dŷ bychan o'r enw Ty'nymorfa, ar forfa Malltraeth. Mae'r ty hwnw wedi ei chwalu er's llawer dydd, ac amaethdy helaeth yn sefyll ar y lle. Weithiau deuai rhai yno o'r Aberffraw i bregethu. Dechreuodd hyn pan oedd y Canghellydd Lewis yn rheithior y plwyf; ac y mae awdwr "Methodistiaeth Môn"—llyfr a gyhoeddwyd yn 1888,—yn dweyd fod Richard Jones wedi cael ei erlid gan "haid o ddynion anghrefyddol, yn cael eu harwain gan y Canghellwr Lewis, o'r Siamber Wen." Yn awr mae hwn yn gyhuddiad difrifol, a rhaid i ni gael gweled a oes sail iddo. Yr hyn geisia yr awdwr uchod wneyd allan yw fod offeiriad yr Eglwys mor ddrwg fel ag i fod yn flaenor i haid o rai drwg i erlid daioni allan o'r plwyfi. Addefwn ar unwaith fod yr offeiriaid yn gyffredinol, yn cael eu cefnogi gan luaws o leygwyr, yn dangos gwrthwynebiad cryf i hyrwyddwyr Ymneillduaeth. Paham y gwnaent hyn? Yn gyntaf oll, gadewch i ni ddeall mai *nid oherwydd eu bod mor ddrwg fel nas gallent ddyoddef daioni yn agos attynt*, fel yr awgryma

yr awdwr uchod; ni bu erioed waeth camddarlunio. Rhaid fod y dyn a ysgrifenai y fath ddarluniad naill ai yn rhy *wâg* o gymwysderau hanesydd i weled a deall arwyddion yr amserau neu ynte yn rhy *lawn* o elyniaeth at yr Eglwys a'i gweinidogion, neu ni buasai byth yn ysgrifenu fel y gwnai. Yr oedd gan Eglwyswyr yr oes hono resymau cryfion dros wrthwynebu Ymneillduaeth yn eu plwyfi, ac nid yw ond teg i'r rhesymau hyny gael goleuni dydd, fel na lunir bai lle na bydd.

*Yn gyntaf, gwrthwynebid Ymneillduaeth oddiar ystyriaethau egwyddorol a chydwybodol.** Yr oedd gwaith yr Ymneillduwyr yn afreoleidd-dra, yn groes i bob awdurdod, ac yn amddifad o bob trefn Eglwysig; a gwaeth na'r oll, yr oedd yn rhwyg yn undeb Eglwys Crist. Yr oedd llawer yn eu gwrthwynebu ar y tir hwn.

*Yn ail, gwrthwynebid Ymneillduaeth oddiar ystyriaethau gwladol.** Pan ddaeth yr Ymneillduwyr i awdurdod gwladol o dan Cromwell, profasant eu hunain yn ormeswyr di-drugaredd a chreulawn. Cymerai gyfrolau i ni ysgrifenu hanes y creulonderau a'r camdriniaethau a ddyoddefasai y tadau Eglwysig yn y cyfnod ofnadwy hwnw. Yn awr, yr oedd hyn oll yn fyw yn nghof y bobl yr adeg hon, ac arswydent rhag cyffelyb dynged yn y dyfodol. Cyfaddefa awdwr *Methodistiaeth Cymru* y byddid yn edrych ar yr Ymneillduwyr "fel rhai yn disgwyl yn ddystaw ac yn hiraethlawn am adeg i godi yn erbyn y brenin ac i ddymchwelyd y Llywodraeth."† Ac os edrychid arnynt yn y goleuni yna, nid rhyfedd iddynt gyfarfod â gwrthwyneb-

* Gwel "Hanes yr Eglwys yng Nghymru." R. Camber Williams, p. 91. † "Methodistiaeth Cymru," iii. 502.

iadau, ac hyd yn nod erlidigaethau. Dyna yn ddiameu a barai i'r Canghellwr Lewis wrthwynebu Richard Jones yn Trefdraeth.

Ni fynem drwy hyn wneyd allan nad oedd yn Trefdraeth ddigon o rai digon drwg i erlid daioni, ac na dderbyniodd hyrwyddwyr Ymneillduaeth gamdriniaeth oddiar law dosbarth anystyriol o'r werin. Ond sicred a hyny, bod yr hanesion wedi eu gorliwio, a pherthynas yr Eglwys â hwynt wedi ei gamddarlunio. Nid oedd yr Eglwys yn gyfrifol am lawer helynt a gymerodd le, mwy nag oedd Methodistiaid Bodffordd yn gyfrifol am weithrediadau gwaradwyddus gwerin y lle ychydig flynyddau yn ol yn amser rhyfel y degwm. Beth bynag a wnaeth y Canghellwr Lewis, credwn ei fod yn gydwybodol a chywir yn ei amcanion.

### PREGETHU YN GLANTRAETH.

Tua'r flwyddyn 1760, ymddengys fod y Methodistiaid Calfinaidd wedi sefydlu eu hachos yn rheolaidd yn y plwyf. Yr oedd hen wr a hen wraig o'r enw Rowland a Jane Owen, yn byw yn Glantraeth, ac ymddengys mai yma y dechreuwyd achos y Methodistiaid yn rheolaidd yn y plwyf. Parhaodd y dull hwn o grefydda yn Glantraeth am tua phedair blynedd ar ddeg. Gwnaed Rowland Owen yn "flaenor," a byddai blaenoriaid yr adeg hono yn myned allan i bregethu.

Rhaid cofio nad oedd y Methodistiaid y pryd hyny yr hyn ydynt yn awr. Nid oeddynt wedi tori cysylltiad â'r Eglwys; mynychent y gwasanaethau a derbynient y cymmun yn yr Eglwys, a chadwent eu cyrddau pregethu ar amserau pryd na byddai gwasanaethau yn yr Eglwys.

### PREGETHU YN TREDDAFYDD.

Tua'r flwyddyn 1790 symudodd Rowland a Jane Owen o

Glantraeth i Treddafydd, ffermdy adnabyddus iawn yn y plwyf, a symudodd achos y Methodistiaid gyda hwynt. Cariwyd y gwaith yn mlaen fel o'r blaen am rai blynyddoedd. Yn y flwyddyu 1805, gosodwyd yr achos yn rheolaidd o dan ofal Rowland Owen fel blaenor, a Manuel Evans fel pregethwr. Yr oedd y gwr hwn yn byw yn Ty'nllwyn, Trefdraeth. Dechreuodd bregethu yn Amlwch, yr oedd yn llithrig a phert ei ddawn. Ond nid aur yw pob peth sydd yn disgleirio. Bu anghydwelediad rhyngddo a'i frodyr, yr hyn a barodd lawer o anghysur iddo—cododd rhyngddo a Rowland Owen i ddechreu, daethpwyd a'r mater o flaen y Cyfarfod Misol, a throdd y glorian yn erbyn Manuel Evans; digiodd yntau ac aeth at yr Anibynwyr am amser, ond blinodd yno, a daeth yn ei ol at y Methodistiaid, ond nid adferwyd ef i bregethu.

Yn Nhre Ddafydd hefyd y dechreuwyd cynal Ysgol Sul, ac yr oedd Ysgol Sul arall yn cael ei chynal yn Nhy'nllwyn tua'r flwyddyn 1805, a mynychid hwynt gan tuag ugain o bersonau; ond erbyn y flwyddyn 1822 dywedir eu bod wedi cynyddu i 200 o nifer.

### Adeiladu Capel Bethel.

Yn ol adroddiad Dirprwywyr Seneddol a awdurdodwyd i ymholi i gyflwr addysg a chrefydd yn Nghymru yn y flwyddyn 1847, ymddengys fod capel cyntaf Bethel wedi ei adeiladu yn y flwyddyn 1816. Rywbeth mwy ar ffurf ysgoldy na dim arall oedd. Nid oedd ond lle bychan, rhyw 12 llath wrth 9; rhaid ei fod yn llawn iawn gyda 200 o ysgol Sul yn 1822!

### Cyflwr yr Achos yn 1847.

Awgryma "*Methodistiaeth Mon*,"* fod yna rhyw anghyd-

* "Methodistiaeth Mon," p. 155.

fod blin rhwng y brodyr yn flaenorol i'r flwyddyn 1822, ond fod yna rhyw adfywiad nerthol a grymus wedi ei gael y flwyddyn yna; gan ychwanegu llawer at eu nhifer, ac fod "teimladau anghysurus ag oedd rhwng crefyddwyr a'u gilydd yn toddi ymaith fel yr iâ gan wres yr haul."

O'r cyfnod hwn, 1822 hyd 1847 nid ymddengys fod fawr o lwyddiant wedi bod ar yr achos. Yn wir, os barnwn gyflwr yr achos wrth ystadegau, rhaid i ni gydnabod fod disglaerdeb a chynydd cyflym y dyddiau cyntaf wedi diflanu i raddau helaeth iawn.

Yn y flwyddyn 1847 cyhoeddwyd adroddiad Dirprwywyr a benodwyd i edrych i mewn i gyflwr addysg yn Nghymru.* Yn yr adroddiad hwnw cawn fod ysgol Sul Bethel yn rhifo 138 ar y llyfrau; cyfartaledd presenoldeb 105.

Mae i bob achos ei gyfnodau o lwyddiant a chyfnodau o fethiant; felly yma, rhwng y flwyddyn 1804 a'r flwyddyn 1822—rhyw 17 mlynedd, cynyddodd aelodau yr ysgol Sul o ugain i ddau gant—cynydd o ddeg yn y flwyddyn. Ond rhwng 1822—1847—cyfnod o 25 mlynedd, yr oedd y cynydd wedi diflanu yn llwyr, ac wedi troi yn lleihad, a'r nifer wedi dod i lawr i'r rhif uchod.

Yn y flwyddyn 1866 adeiladwyd capel newydd, hardd, yma. Yr oedd yr hen gapel wedi myned i gyflwr drwg, ac i edrych yn anolygus. Cynorthwyid Methodistiaid Bethel gan rodd o gronfa y sir, sef £400, yr hyn oedd yn gychwyniad da, casglwyd y gweddill yn mhlith yr aelodau o flwyddyn i flwyddyn, nes dileu yr holl ddyled. Yn nglyn â'r capel, mae yma fynwent eang, ac erbyn hyn yn ym-

* Report of Commission of inquiry into the state Education in Wales, 1847.

ddangos yn weddol lawn o feddau. Y cyntaf a gladdwyd ynddi oedd William Griffith, Careg Griffith; hen gymeriad "apostolig" iawn yn ei ddydd.

Un o'r pethau cyntaf o bwys ar ol hyn yn hanes allanolion yr achos yn Bethel, oedd adgyweiriad y capel. Yn y flwyddyn 1889 y cymerodd hyn le. Aildrefnwyd ei seddau oll, a'i du mewn yn gyffredinol, a gwnaed lluaws o welliantau allanol.

Nid ymddengys fod gwedd lawn mor lewyrchus ar yr achos y blynyddoedd diweddaf ag a fu mewn rhai cyfnodau boreuach, fel y dengys yr ystadegau am y flwyddyn ddiweddaf (1902):—

| | |
|---|---|
| Gweinidogion ... ... ... | 1 |
| Blaenoriaid ... ... ... | 5 |
| Cymmunwyr ar y llyfr ... ... | 127 |
| Yr holl wrandawyr ar y llyfr ... | 189 |
| Ysgol Sul ar y llyfr ... ... | 109 |

(ar gyfartaledd 82.)

Cyfanswm y casgliadau at bob achos ... £102 13*s.* 3*d.*

RHESTR O FLAENORIAID BETHEL.

Rowland Owen, Glantraeth
William Williams, Y Shop
John Rowland, Fferam Dryfol
Thomas Jones, Bodwrdin
Hugh Williams, Y Shop
William Rowlands, Y Fachell
John Owen, Lodge, Bodorgan
Richard Jones, Fferam Beili
Griffith Owen, Gwna Fawr

Thomas Parry, Carreg Ceiliog Bach
Samuel Hughes, Y Shop
Owen Hughes, Bodorgan Station
Griffith Williams, Fferam Park
William Cadwaladr Lloyd, Y Shop
John Pierce, Tyddyn Bottwm
Robert Jones, Tir Isaf
John Hughes, Tyddyn Engan

### PREGETHWYR A GODWYD YN BETHEL.

Manuel Evans, Ty'n Llwyn
Owen Owens, Talcen Dail
Humphrey Hughes, Bethel
Owen Williams, Cefn Trefeilir
William Richard Owen, Felinheli
William Llewelyn Lloyd, Y Shop

### CAPEL SARDIS, YARD MALLTRAETH.

Capel Methodistaidd ydyw hwn eto, a saif yn mhentref Malltraeth ar gwr deheuol y plwyf. Cangen o Bethel oedd yr achos yma, a bu mewn cysylltiad agos â Bethel o hyny hyd yn awr.

Y ffurf gyntaf ar Fethodistiaeth Malltraeth oedd Ysgol Sul. Cynhaliwyd hi gyntaf mewn tŷ o'r enw y "Frechden deneu," tua'r flwyddyn 1790. Ni bu yma yn hir iawn; symudodd i dŷ arall yn yr un lle, ac adnabyddir y tŷ hwnw wrth yr enw "Ysgoldy" hyd heddyw. Wedi bod yno am amser, symudwyd i "Lofft y stôrws." Bu yma am amser eto, a dywedir mai yn y Llofft hon y dechreuwyd pregethu gyntaf yn y lle. Nid oedd y lloft hon yn hollol at eu gwasanaeth, oblegid yr oedd un pen iddi yn haner llawn o ŷd.

Gofalid am yr achos y pryd hyny gan Edward Meredith, Perth Hwfa. Efe oedd yn gofalu am y canu, a dywedir mai canwr rhagorol ydoedd. Colofn arall oedd yno ar y pryd oedd Rowland Pritchard — tad Daniel Rowlands, Bangor.

Ymddengys i mi fod awdwr "Methodistiaeth Môn" yn gyfeiliornus a chamarweiniol iawn gyda hanes adeiladu ysgoldy a chapel Sardis. Dywed ef fod tir wedi ei gael gan berchenogion Morfa Malltraeth i adeiladu ysgoldy arno, ar yr amod na byddai pregethu ynddo; ac fod ysgoldy wedi ei adeiladu yn 1831, ac fod dechreu pregethu wedi cymeryd lle yn fuan, yn groes i weithred trosglwyddiad y tir.* Yr wyf wedi methu cael sail i hyn o gwbl. Mae hanes tir, ac ysgoldy, a phregethu yn Malltraeth yn wahanol iawn i'r uchod. Ymddengys fod un o'r enw Thomas Lewis, Tan y Lan, wedi rhoddi prydles i'r Parch. John Elias, Llanfechell, ac wyth eraill o bersonau, ar lain o dir a elwid Llain carreg ceiliog; mesurai rhyw *2a. 13p.* Yr oedd y brydles i fod am fil (1000) o flynyddoedd, ac nid oedd y rhent ond swllt yn y flwyddyn. Yr oedd y brydles yn dechreu o Ionawr 3ydd, 1816. Yr oedd y Parch. John Elias a'r wyth person eraill i adeiladu tŷ da a sylweddol ar y llain hon, neu ynte rhyw adeilad arall, a'u bod yn rhwym i ganiatau o bryd i bryd ac ar bob pryd i'r adeilad gael ei defnyddio i amcan crefyddol ac addoliad cyhoeddus, a goddef i bregethwyr, athrawon, a gweinidogion i wasanaethu a gweinyddu ordinhadau crefydd ynddi.† Mae y weithred drosglwyddiadol o fy mlaen pan yn ysgrifenu, a phe buasai awdwr "Method-

* "Methodistiaeth Mon," p. 156

† Gwel "Adroddiad Dirprwywyr Elusen Plwyf Trefdraeth," p. 7.

istiaeth Môn " wedi ei gweled buasai wedi ei waredu rhag syrthio i'r cyfeiliornad uchod.

Adeiladwyd y capel Methodistaidd a elwir Sardis ar y llain uchod tua'r flwyddyn 1816, a gosodir rhan arall o'r llain am rent o tua £1 yn y flwyddyn, a defnyddir yr elw tuag at y weinidogaeth yn y lle. Felly, yn lle cyfarfod âg anhawsderau a rhwystrau wrth gychwyn yr achos, ac i adeiladu eu capel cyntaf, cafodd Methodistiaid Malltraeth bob rhwyddineb ; cawsant y tir yn ymarferol am ddim, ac ychwanegwyd punt o waddol blynyddol at eu gwasanaeth.

ADEILADU CAPEL NEWYDD.

Yn y flwyddyn 1859 hwyliwyd i gael capel newydd yn Malldraeth, a phrynwyd ychwaneg o dir at y llain oedd ganddynt o'r blaen. Adeiladwyd capel hardd ac eang ; mesurai 16 llath o hyd, wrth 14 llath o led. Dyma yr amser, 1860, y corphorwyd achos Sardis yn rheolaidd, o dan Owen Owens, Bethel, fel eu gweinidog. Cyn hyn yr oedd y rhan fwyaf o Fethodistiaid Malltraeth yn aelodau o gapel Bethel.

Wedi adeiladu y capel newydd, daeth Sardis, Soar, a Bethel yn " daith Sabbothol."

Er's rhyw bedair blynedd yn ol adgyweiriwyd capel Sardis ; ac yn ol ystadegau y Methodistiaid am 1902 saif yr achos fel y canlyn yn awr :—Blaenoriaid, 4 ; yr holl gymmunwyr, 104 ; yn ystod y flwyddyn derbyniwyd 3 o'r newydd, a chollwyd 4 ; nifer yr holl wrandawyr, 180. Yr oll ar lyfrau yr ysgol Sul, 127.

Wele restr o enwau y blaenoriaid o'r dechreuad :—Edward Meredith, Rowland Pritchard—tad D. Rowlands, Bangor ; Wm. Roberts, Ty'n Lon ; Owen Jones, Ty'n morfa ; Richard

Owen, Cae wehydd ; Owen Tibbott, mab y Parch. Abraham Tibbot, hen bregethwyr gyda'r Anibynwr ; Samuel Hughes, Glan'rafon ; William Hughes, Ty newydd ; Hugh Pritchard, Cae wehydd ; Thomas Humphreys, Cwt ; Thos. Williams, Ty'n y morfa ; R. Jones, Ty'n lon ; W. Jones, Tyddyn engan.

### Capel y Wesleyaid, Ty Mawr.

Saif y capel bychan hwn ar y ffordd sydd yn arwain o Bethel i lawr am Malltraeth ; mae wedi ei adeiladu ar dir ffermdy Ty mawr, ac wrth yr enw hwn yr adwaenir ef gan y lluaws, ond yn nhafodiaith y Wesleyaid gelwir ef yn Elim. Cafodd yr enw ar y dechreu yn ddiameu gan y credid gan ei sefydlwyr y buasai megis deuddeg ffynon i dori syched ysbrydol y plwyf, ac y buasai ei fendithion yn cael ei teimlo fel cysgodion y deg palmwydden a thri ugain gynt. Rhy brin y mae wedi sylweddoli y gobeithion hyn. Dywedir iddo gael ei adeiladu tua'r flwyddyn 1812 ; ac felly mae yn hynach na'r un capel arall yn y plwyf. Perthyna i gylch-daith Caergybi, a gwasanaethir ef gan weinidog Aberffraw.

Er's rhyw bedair i bum mlynedd yn ol adgyweiriwyd y capel, yr hwn oedd o'r blaen yn edrych yn hen a diaddurn iawn. Ei brif flaenor, a'r dechreuwr canu yw Mr. John Hughes, Carreg ceiliog fawr.

Yn ddiweddar cododd dau ddyn ieuainc o'r capel hwn i fod yn bregethwyr, sef, Mr. John Emrys Hughes, mab y blaenor a enwyd uchod, a Mr. H. Rowlands, mab Mr. H. Rowlands, Ty mawr ; mae Mr. Rowlands wedi myned trwy ei arholiad i fyned i'r coleg yn llwyddianus, a dywedir fod rhagolygon disglaer o'i flaen.

Nid oes gapel Ymneillduol arall yn y plwyf. Ni fedd y Bedyddwyr gapel mewn milldiroedd lawer; ni fedd yr Anibynwyr yr un capel yn y plwyf; ond y mae ganddynt ddwy wersyllfa ar benau y bryniau ar ystlysau y plwyf, a theimlir peth o'u dylanwad ar adegau yn rhodio rhwng y gwersylloedd.

## PENNOD VIII.

### AMRYWION.—GWYL-MAB-SANT TREFDRAETH.

MAE y gair "Glabsant" Trefdraeth, yn air teuluaidd yn y plwyf er's canrifoedd; ond beth yw ystyr a meddwl y gair?

Dywed un awdwr mai o'r geiriau Lladin, "*Memoria Sanctorum*," neu "*Martyrum*," y daeth y gair, yn y ffordd yma, sef mai yr hen air Cymraeg am "*Memoria*," oedd "Mybr,"—coffadwriaeth; gan hyny, cyfieithiad o "*Memoria Sanctorum*" fuasai "Mybr y Sanct," ac mai wrth yr enw hwnw gynt y gelwid gwyliau coffadwriaethol y seintiau ymadawedig, ac mai oddiwrth y cynulliadau hyn y cafodd y ffeiriau cyflogi diweddar eu cychwyniad a'u henwau.

Rhydd yr enwog Richard Davies, o Fallwyd, ystyr arall i'r enw. Dyma ddywed ef, "fod holl fodau y plwyf yn cael eu cyfrif yn blant i sant y plwyf"—meib y sant; ac fod eu gwyl gyffredinol yn cael ei galw yn Gwyl-meib-y-sant.

Mae un peth yn sicr, sef fod cysylltiad agos rhwng yr hen ffair hon a sant y plwyf. Yr oedd yn arferiad cyffredinol yn yr Eglwys i gadw gwyl y sant, i ba un y byddai yr Eglwys blwyfol wedi ei chyflwyno. Ni byddai neb o'r plwyfolion yn gweithio y diwrnod hwnw, ond pawb yn ymgasglu i'r Eglwys i addoli Duw, a diolch am y seintiau. Mewn rhai cyfnodau yn hanes yr hen, sefydliadiau hyn, cawn eu bod wedi eu camarfer gan y bobl. Byddai cydgynulliad holl drigolion y plwyf at yr Eglwys yn esgor ar rhywbeth heblaw addoli Duw, fel y mae cymanfaoedd yr Ymneillduwyr

heddyw yn graddol lithro i fod yn gystadleuaeth pregethwyr a ffeiriau gwagedd. Felly y bu gyda gwyl y seintiau. Cymerai rhai fantais ar y cydgyfarfyddiad i fasnachu, a chyflawni cytundebau o wahanol fathau; eraill i geisio difyrwch, mewn chwareufeydd, ac ymrysonau; dyma ddechreuad y gwyl-mab-santau diweddar ar hyd pentrefydd y wlad.

Bu Trefdraeth yn enwog iawn am ei gwyl-mab-sant am ganoedd o flynyddoedd. Cedwid hi ar y ffordd, gydmarol gul, sydd rhwng yr hen Ysgubor Ddegwm, ac Eglwys Trefdraeth; a phaham yno? Nid oes yno ond ychydig o dai, nac unrhyw gyfleustra masnachol. Y rheswm yw, mai yno y dechreuodd y bobl gyd-gyfarfod a'u gilydd ar ol dod o'r Eglwys yn y boreu; gwyl y *prydnhawn* oedd y gwyl-mab-sant o'i dechreu hyd ei diwedd; ni feddyliai neb byth am fyned yno ond erbyn y prydnhawn; a chydgordia hyn â'i hanes dechreuol, pryd y byddai gwasanaeth yn yr Eglwys, a phawb ynddo yn y boreu.

Mae genym bob lle i gredu fod Gwyl-mab-sant Trefdraeth mor henafol ag un o'r sefydliadau hyn; ond drwg genym nas gallwn ymfalchïo ynddi er ei henafiaeth, llygredig fu ei dylanwad, a chwerw iawn ei ffrwythau.

Yn Mrut y Tywysogion dan y flwyddyn 1043, cawn gofnodiad am farwolaeth diwygiwr mawr a fu yn Nghymru ddechreu yr unfed-ganrif-ar-ddeg, o'r enw Joseph, Esgob Teiliaw. Dyma a ddywedir am dano yno, "Bu farw Joseph, Esgob Teiliaw, gŵr doeth, duwiol, a dysgedig; efe a wnaeth drefn dda ar *wyliau-mab-sant*, sef nas ceid amgen na gweddïau Duw, a dangos daioni, a gwneuthur elusenau arnynt, a chynal côf dyledus am Dduw a'r saint, a'u gweith-

redoedd molediw." Dengys hyn dri pheth :—(1) Fod y gwylabsantau mewn bri yr adeg hono. (2) Fod pobl dduwiol yn teimlo oherwydd camymddygiadau eu mynychwyr. (3) Fod yr awdurdodau Eglwysig wedi cymeryd camrau i'w puro a'u dyrchafu.

Ond rhyw fodd, mae hen arferion da yn cael eu camddefnyddio a'u llygru bron yn mhob oes. Ac felly trowyd hen wyl grefyddol Trefdraeth yn ffair gyflogi, yn ffair wagedd—yn ddiwrnod ymladd, a meddwi. Yma y tyrai llanciau a merched llafur y plwyf, a'r plwyfi cylchynol, ddwy waith yn y flwyddyn, sef ar y dydd cyntaf o Fai, ac ar y dydd cyntaf o Dachwedd. Prif waith y prydnhawn fyddai cyflogi ; deuai yr amaethwyr yno, a deuai y gweision yno yn dyrfaoedd, ac yno y gwnaent eu cytundebau am yr haner blwyddyn ddilynol. Fel y gellid disgwyl, byddai yno bob math o ddifyrion i hudo arian y rhai diniwed ; a phersonau wedi cael trwyddedau arbenig i werthu diodydd meddwol am y diwrnod. O dan ddylanwad y ddiod, byddai golygfeydd calonrwygol yn cymeryd lle ; hen gwerylon yn cael eu gwastadhau gan feibion llafur y cylch. Peth cyffredin oedd fod gwybodaeth drwy y plwyf pwy fyddai yn myned i ymladd yn y Gwyl-mab-sant. Ymataliwn rhag rhoddi darlun o'i golygfeydd pan dorai yr ymladd allan, byddai yn ofnadwy ! Yn debycach i haid o gŵn cynddeiriog, neu fleiddiaid gwylltion ! Ond tynwn y llen i lawr. Trwy rhyw drugaredd, mae yr hen sefydliad wedi marw. Yr wyf yn credu mai yn Nhachwedd 1899 y bu y ffair ddiweddaf yma. Gwenwynwyd hi gan ei charedigion, bu farw, ac nid oes neb yn wylo ar ei hol. Dichon yr adgyfodir yr hen wyl eto ar ei nhewydd wedd, ac y bydd yn cael ei chynal rywbryd eto yn

ol fel y gorchymynai Joseph, Esgob Teiliaw, sef mewn "gweddïau Duw, dangos daioni, a gwneuthur elusenau arni, a chynal côf dyledus am Dduw a'i saint, a'u gweithredoedd molediw."

## TREFEILIR.

Dyma un o'r lleoedd mwyaf henafol a hanesyddol yn y plwyf hwn yn ddiameu, ond ni chawn yma ond gwneyd ychydig nodiadau brysiog arno. Saif y palasdy ar yr ochr ogleddol i'r ffordd sydd yn arwain o Bethel i Langefni, ychydig islaw y ffordd; yn yr hen amser yr oedd yma ystâd eang yn perthyn iddo. Gelwir ef wrth yr enw Trefeilir oddiwrth enw ei drigianydd boreuaf, sef Meilir ap Gwalchmai. Yr oedd Meilir yn fardd enwog yn ei ddydd, ond bardd hynod o brudd-dduwiol oedd. Mae wyth o'i awdlau i "Dduw" ar gael a chadw yn *Myfyrian Archaiology of Wales*. Yma y trigai, ac oddiwrtho y cafodd y lle ei enw. Yr oedd Meilir yn blodeuo rhwng 1170 a'r flwyddyn 1220. Yn mhen rhyw ddwy oes neu lai ar ei ol yr oedd ei ŵyr yn trigo yma, Einion; yr oedd yntau yn fardd gwych ac yn grythor medrus. Ceir engreifftiau o'i waith yn *Myfyrian Archaiology*. Mae hanesyn dyddorol am dano ar gael, ei fod wedi methu byw gyda'i wraig, Angarad, a'i fod wedi ei gadael heb ddod yn ol am ugain mlynedd; ond daeth yn ol ar y diwrnod yr oedd Angarad yn priodi gyda dyn arall. Tra yr oedd y wledd briodas yn myned yn mlaen yn Nhrefeilir daeth Einion at y drws yn y cymeriad o grythor, a chwareuai y crwth, a daeth Angarad i'r drws wrth sŵn ei grwth a gofynodd ar gan pwy oedd efe, a dyma ei ateb :—

"Einion I am of Meilir, noble race,
The son of Gwalchmai, hero of renown;

In foreign climes I staid so long a space
That now my friends no longer will me own.
Look not, Angarad, on my silver hair,
Which once shone bright of golden lovely hue.*

Pan welodd Einion luaws o wahoddedigion yn llanw y ty, holodd beth oedd hyn, a cheisiai Angarad guddio yr anffawd allan o'i olwg gan ddywedyd—

"Paham yr wyt yn synu,
Ai dwl, ai dall wyt ti?
Ond dwsin o ferched nyddu
A yrodd mam i mi."

Mae Trefeilir wedi aros yn meddiant disgynyddion Meilir hyd yn ddiweddar. Yr oedd un gangen o'r teulu yn byw yn Trefeilir hyd ddechreu y ddeunawfed ganrif, pryd y gwerthwyd yr ystâd i William Evans, Henblas. Yr oedd hwn hefyd yn un o'r teulu, oblegid yr oedd Evan ap Llewelyn, Trefeilir, rywbryd tua theyrnasiad Henry VII. wedi rhoddi yr Henblas yn ei ewyllys i'w bumed mab, ac un o ddisgynyddion y pumed mab hwnw oedd William Evans, Henblas; daeth i Trefeilir i fyw, ac efe a adeiladodd y palas presenol. Yr oedd y William Evans hwnw yn daid i hen daid y Capt. Evans sydd yn yr Henblas yn awr.

Yn yr amser yr oedd Llys Llewelyn yn Aberffraw, dywedir fod un o'i gadfridogion ef yn trigo yn Trefeilir, ac y byddai Llewelyn yn rhoddi arwyddion iddo o ben bryn Llewelyn, Aberffraw.

Dywedir fod ogof yn rhedeg o dan garreg aelwyd Trefeilir; a'r hen draddodiad yw, ei bod yn rhedeg yr holl ffordd i'r

* Gwel gwaith Angarad Lloyd. Methais gael gafael ar y Gymraeg wreiddiol. Cyfieithiad yw yr uchod. Mae'r gweddill o'r ymdrafodaeth ar lafar gwlad yr ardal.

Aberffraw ar y naill law, ac i Rhos Trehwfa ar y llaw arall. Beth bynag am hyn, mae ogofäu yn cychwyn o'r ddau le uchod i gyfeiriad Trefeilir, ond eu bod wedi eu cau i fyny er's llawer blwyddyn.

Yr oedd yma hen ysgubor enfawr yn yr amser gynt, a dywedid ar dafod gwerin er mor fawr oedd hi, yr äi i mewn i ysgubor yr Henblas, yr äi ysgubor yr Henblas drachefn i mewn i ysgubor Trefarthin, ac yr aethai hono i mewn i ysgubor y Faenol, yn sir Gaernarfon.

CADMARTH.—Enw ar graig fechan ar un o faesydd Trefeilir yw Cadmarth. Saif i'r gogledd o'r palas, ac yn agos i amddiffynfa Ty'n Dryfal. Dywedir fod yma fath o amddiffynfa wedi bod arni, a gelwid dau dŷ a fu yno unwaith wrth yr enw "Castell Cadmarth." Bu llawer o frwydro yn yr ardal hon rhwng y Gwyddelod a'r hen Gymry, a cherllaw y lle yma, mewn plwyf arall, y lladdwyd Serigi Wyddel; a chredir mai perthyn i'r oes hono mae yr enw hwn. Mae yma un hynodrwydd arall yn perthyn iddo: mae yma dri phlwyf yn cydgyfarfod ar y graig, a'r hen ddywediad yw, pe y gosodid bwrdd crwn ar lecyn neillduol yma y gallai Rheithior Trefdraeth, Rheithior Aberffraw, a Rheithior Cerrigceinwen eistedd bob un yn ei blwyf ei hun, a bwyta eu ciniaw ar yr un bwrdd crwn hwn.

CAE'R BATH..—Ychydig i gyfeiriad y dehau o Cadmarth mae'r man a elwir wrth yr enw hwn. Nid oes olion o gwbl i'w gweled yn awr ar y maes hwn. Hyd o fewn rhyw driugain mlynedd yn ol yr oedd yna *bath*, neu fath o ffynon fawr ar ganol y maes yno: mesurai 3 neu 4 llath o hyd, a rhyw 2 neu 2¼ llath o led. O'i hamgylch yr oedd mûr uchel, a phorth yn dod drwyddo, a grisiau rhagorol i fyned

i lawr at y dwfr. O'i hamgylch, tu fewn i'r mûr, yr oedd llwybr tua llathen o led; yr oedd ynddi gyflawnder o ddwfr yn tarddu yn gryf iawn, ac mor oer fel nas gellid dyoddef y llaw ynddo o'r bron. Anhawdd penderfynu perthyn i ba oes yr oedd hi. Ond mae wedi ei chwalu ymaith yn awr, ac nid oes ond ychydig a ŵyr pa le yr oedd y *bath.*

## LLYN CORON.

Rhed terfyn plwyfi Trefdraeth a Llangadwaladr drwy ganol Llyn Coron, gan adael tua'r haner yn mhob plwyf. Ystyrir hwn yn un o'r llynau pwysicaf yn Môn ar gyfrif ei bysgod; delir ynddo luaws mawr o frithilliaid rhagorol bob blwyddyn. Dyna sydd yn cyfrif am yr attyniad mawr sydd ynddo i foneddigion o bob parth yn yr haf.

Yr hen draddodiad am dano yn yr ardal yw mai tref enwog oedd yma unwaith, yn cynwys anedd-dai harddwych, ac eglwys yn meddu clochdy uchel godidog; ond oherwydd drygioni y trigolion, iddi suddo i lawr yn grynswth, heb ei dryllio, o dan farn Duw! Yn ychwanegol at hyn dywedid fod clochdy yr eglwys i'w ganfod yn ymgodi allan o'r dwfr yn amser sychder, pan fyddai arwynebedd y llyn yn isel, ac y clywid swn y clychau yn perori ar adegau. Creded a ddewiso.

## GWEITHFEYDD GLO MORFA MALLTRAETH.

Y gwaith cyntaf yn y plwyf oedd yr hwn a gloddiwyd o dan dir Tyddyn Bottwm, gerllaw y Viaduct. Gweithid hwn gan gwmni o amaethwyr yr ardaloedd, wedi ffurfio yn gwmni. Bu codi glo yma am flynyddau. Nid oedd y glo o ansawdd dda; glo yn malurio yn fân iawn oedd, ac nid oedd cyflenwad mawr ohono. Yr oedd y cwmni wedi myned i gostau mawrion mewn pwrcasu peirianau, &c., ond

prin y talodd am y gôst; a rhywbryd cyn canol y ganrif ddiweddaf yr oedd y cyflenwad wedi ei ddihysbyddu yn y rhanbarth hwnw. Penderfynasant geisio mewn lle arall. Cloddiasant bwll yn ngwaelod y ffordd sydd yn arwain o Eglwys Trefdraeth i'r Morfa. Symudasant y peirianau yno, a dywedir fod holl geffylau yr ardal wedi eu dwyn yno i dynu un berwedydd mawr oedd yno o'r naill le i'r llall. Swyddfeydd perthynol i waith Penlon oedd yr anedd-dai sydd yno, a elwir heddyw wrth yr enw hwn. Bu hwn yn gweithio am rai blynyddau ar yr un cynllun a'r cyntaf, a chyda chanlyniadau cyffelyb. Nid oedd ansawdd y glo nemawr gwell, eto yr oedd gofyn da am dano. Deuai yr amaethwyr gyda'u troliau o bob rhan o'r wlad am dano; a pheth cyffredin fyddai gweled bechgyn gyda heidiau o asynod, lonaid y ffordd, a phob asyn dan ei bwn o fwsiel neu fwsiel a haner. Trwy y moddion yma yr oedd y tylodion yn cludo eu tanwydd. Nid oedd glo yn yr orsaf y pryd hyny, am nad oedd gorsaf reilffordd yn Sir Fon yr adeg hono. Yr oedd gan bob ty tlawd ful yn eu meddiant y pryd hyny, ac nid oedd ei werth ond rhyw 2*s.* 6*d.* ar gyfartaledd; prynid rhai yn aml am 1*s.* yr un. Cludid y glo yn y modd yma, nid yn unig i bob rhan o'r plwyf hwn, ond hefyd i Langristiolus, Llangefni, Heneglwys, Gwalchmai, Llanbeulan, Aberffraw, Llangadwaladr, Niwbwrch, Llangaffo, &c. Ei bris cyffredin fyddai tair ceiniog y bwsiel.

Prif oruchwyliwr y gwaith dros y cwmni oedd Hugh Hughes, Cefn Mawr, fel yr adwaenid ef yn niwedd ei oes, ond yn Llangristiolus y trigai y pryd hyn. Dyn heb fanteision addysg boreu oes, ond a ymwthiodd drwy ei anhawsderau, a daeth yn brif oruchwyliwr y cwmni hwn.

Astudiodd y gangen hon o fasnach yn drwyadl. Symudodd oddiwrth y cwmni, a chychwynodd waith ei hunan—ar ei gyfrifoldeb ei hun—yn mhellach yn mlaen i gyfeiriad Llangefni, a bu yn llwyddianus iawn; enillodd gyfoeth lawer; ond aeth cwmni yr amaethwyr i lawr, a darfyddodd gwaith Penlon.

Cychwynwyd gwaith arall gan gwmni o Saeson gerllaw Pencrug, a gelwid y gwaith wrth yr enw hwnw. Tebyg o ran ansawdd a chyflenwad oedd y glô yma eto; parhaodd hyd y flwyddyn 1868-70, nid wyf yn sicr o'r flwyddyn.

O fewn lled cae i'r diweddaf ymgymerodd cwmni o Gaernarfon âg agor gwaith newydd arall. Parhaodd y ddau ddiweddaf i weithio gyda'u gilydd. Yr oedd glô Pencrug ychydig yn frasach, ond darfyddodd ychydig yn gynt. Bu "gwaith Caernarfon," fel y gelwid ef, yn gweithio am ychydig ar ol y llall. Hwn oedd y gwaith olaf o ddim pwysigrwydd a fu yn y plwyf. Rhwng y flwyddyn 1881 a'r flwyddyn 1884 bu ymgais arall yn myned yn mlaen; y tro hwn ceisid yn y traeth, o dan Perth Hwfa Bu ychydig nifer o ddynion yn gweithio yma am amser maith. Ond darfyddodd yr ymgais hon yn golled i gyd. Nid wyf yn deall fod ceiniogwerth o lô wedi ei werthu o bwll y traeth.

Yn ddiweddar mae y Parch. Evan Jones, pregethwr Methodistaidd, Llangristiolus, wedi bod yn ceisio codi brwdfrydedd yn y wlad er ffurfio cwmni i wneyd un ymgais fawr fuddugoliaethus; mae wedi gwneyd ymchwiliad manwl i ansawdd y tir, a sicrha y wlad, ar seiliau cedyrn fod yna ddigonedd o lô o dan y morfa ond cael cyfalaf i'w godi. Yr wyf yn deall fod cwmni bychan wedi ei ffurfio, ac arian wedi eu talu i mewn, a bod arbrawfion yn cael eu gwneyd mewn

gwahanol fanau, a chred lluaws fod y rhagolygon yn addawol.

GWELLIANTAU A CHYFNEWIDIADAU.

Nid yw pob cyfnewidiad yn welliant. Mae llawer o'r ddau wedi digwydd yma fel drwy y wlad.

Mae *ein gwisgoedd wedi newid llawer*. Bellach ni welir yr hen *het silk* coryn uchel gan y gwragedd a'r merched ieuaingc, na'r *cap* gwyn a'r *border* llydan o amgylch eu bochau byw o iechyd. Mae'r bais a'r becon a *shawl* bach a'r barclod o stwff cartref, wedi ei gwisgo allan. Yr un modd gyda'r dynion, mae'r got *dinfain* las, y clôs pen-glin, a'r esgidiau isel a'r bwcwl gloew ar gefn y traed, wedi eu taflu heibio.

A gafwyd gwisgoedd gwell? Ofnwyf mai cyfnewidiad, ac nid gwelliant fu ar y gwisgoedd.

Mae *gwaith a chyflogau* wedi newid llawer. Cyn i'r reilffordd ddod drwy y plwyf, nid oedd cyflogau llafurwyr cyffredin ond rhyw dair ceiniog yn y dydd, a gweithid o "haul i haul." Pan ddaeth y reilffyrdd, aeth miloedd i'r gwaith hwn, a chododd y cyflogau, ond wedi i'r gwaith hwnw ddarfod, aeth yn amser gwael ar y llafurwr drachefn, peth cyffredin fyddai gweled dyn, a llonaid ty o blant ganddo, yn enill ond rhyw *rôt* yn y dydd ar eu cyfer. Ond graddol wellhaodd pethau. Cododd y cyflog i 8c. a 1/., ac yn araf i 1/3 a 1/6, ac erbyn hyn mae tua 2/- a bwyd a lletty. Newidiodd amser gweithio hefyd. Yn lle o "haul i haul," yn yr haf, daeth o *bump* yn y boreu i *saith* yr hwyr. Ac yn ddiweddar ymunodd y plwyf hwn gydag eraill yn yr ymgyrch i fyrhau oriau llafur, ac erbyn hyn, yr amser yw o *chwech i chwech*. Dyma welliantau gwirioneddol.

Yn yr hen amser, ni byddai *llythyr-gludydd* yn dod i'r ardal, dim nês na'r Mona, neu Llangefni mewn cyfnod arall. Mae yma rai eto yn cofio fel y byddai gwas Bod-organ yn myned am y Mona yn ei gôt werdd, ac fel y marchogai'cerbydwr Dr. R. Williams, y Rheithiordy, am Llangefni yn ddyddiol i chwilio am lythyrau. Os byddai llythyr yn dod i rywun yn yr ardal, byddai raid *talu swllt* am dano; amheuthyn mawr oedd llythyr. Ond y mae genym ein Llythyrdy bellach er's dros 40 mlynedd; a llythyr-gludwyr yn eu dosbarthu wrth ein drysau cyn agoryd ein llygaid, am geiniog yr un, neu lai. Yn y flwyddyn 1887 ychwanegwyd at fanteision gohebyddol y plwyf, drwy agor swyddfa bell-ebrol yma, yr hyn sydd gaffaeliad mawr. Cynyddodd y gwaith, fel y bu raid cael Llythyrdy newydd yn 1901, ac y mae yn un o'r rhai harddaf yn yr Ynys. Dyma welliantau mawrion.

*Mae manteision Addysg* wedi eu cyfnewid yn fawr. Gynt prin y ceid neb o'r dosbarth cyffredin allai ysgrifenu na darllen ysgrifen o gwbl. Ond mae yn debyg nad oes ond ychydig heddyw o fewn y plwyf na allent ysgrifenu rywfodd. Pan godwyd yr Ysgol ddyddiol, graddol ddiddymwyd y nodwedd hon ar bethau. A dylai y plwyfolion deimlo byth yn ddiolchgar i'r Dr. Williams am roddi cychwyn yn ngherbyd addysg yn y plwyf, ac wedi hyny i Dr. Owen am ei helaethu a'i wneyd yn llawer mwy effeithiol, ac wedi hyny i'r Deon Pryce am ei gadw i fyned a gwneyd gwaith rhagorol. Dyma welliant nas gellir ei brisio.

Yn yr hen amser gynt nid oedd yma ond *un deml i'r holl blwyfolion* i gyd-gasglu i addoli Duw ar hyd y canrifoedd, sef hen Eglwys y plwyf: yma y bedyddid hwynt, y derbyn-

ient arddodiad dwylaw yr Esgob, yma y cymunant yn dyrfaoedd, yma y priodid hwynt, ac yma y cleddid hwynt; yr oedd yr hen Eglwys yn fath o gwlwm undeb i'r holl blwyf. Yma y caent eu holl addysg, nid oedd llyfr i'w gael na Beibl o fewn gafael, yr oedd heb ei gyfieithu, a'i argraffu. Er hyny bucheddent yn rhagorol—nid oedd ganddynt y ddrwgdybiaeth sydd heddyw—yr oeddynt yn onestach a llawer mwy agored na nyni. Erbyn heddyw mae yma dri chapel ar wahan i'r Eglwys, a chyrcha lluaws iddynt. Dyma gyfnewidiad mawr, ond nid yw yr holl blwyfolion yn credu ei fod yn welliant. Yn yr hen amser gynt byddai'r bobl yn myned i'r addoliad, ond yn awr rhaid mynd a'r addoliad i'r bobl; gynt yr oedd y plwyfolion yn un gatrawd, o dan yr un cadben, ond yn awr maent yn gatrodau gwahaniaethol ac eiddigeddus o'u gilydd. Undeb yw rhwymyn perffeithrwydd a choron Cristionogaeth.

---

Argraphwyd gan Jarvis & Foster, Lorne House, Bangor.